M268:
J 71wl El
Items 1-7

Presented to the Historians Office
by Elder Dan Jones,
and furnished by his wife, at his request,
during his absence. Aug 30. 1855

# HANES

# SAINT Y DYDDIAU DIWEDDAF,

O'U

SEFYDLIAD YN Y FLWYDDYN 1823,

HYD YR AMSER YR

## ALLTUDIWYD TRI CHAN MIL O HONYNT

O'R AMERICA OHERWYDD EU CREFYDD,

YN Y FLWYDDYN 1846.

---

"Gwelwch yn mysg y cenedloedd, ac edrychwch, rhyfeddwch yn aruthrol; canys gweithredaf weithred yn eich dyddiau, ni choeliwch er ei mynegu i chwi."—Habacuc.

"Canys ni wna yr Arglwydd ddim a'r nas dangoso ei gyfrinach i'w weision y prophwydi."—Amos.

---


MERTHYR-TYDVIL:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH, GAN CAPT. JONES,

AC AR WERTH HEFYD GAN LYFRWERTHWYR ERAILL.

ARGRAFFWYD GAN J. JONES, RHYDYBONT.

# CYNNWYSIAD.

# RHAGLITH.

---

ANWYL DDARLLENYDD,—

Dyma ni yn cymhell arnoch un llyfr newydd etto at yr oll a gyhoeddwyd; ond ni chynnygiodd neb arall erioed i chwi lyfr mor newydd, ac mor rhyfedd ei gynnwysiad â hwn. Yn y llyfr hwn cewch hanes difyrus a gwirioneddol am ddwyfol sefydliad y gyfundraeth hòno a elwir "*Mormoniaeth,*" neu, yn fwy priodol, crefydd *Saint y Dyddiau Diweddaf.*

Digonol yw'r holl gyhoeddi, y pregethu, a'r dweyd sydd drwy ein gwlad yn erbyn y gyfundraeth hon, er profi yr ystyrir hi yn wrthddrych teilwng o sylw cyhoeddus, yr hyn sydd gydradd ag addef mai goreu pa fwyaf a feddwn o'i hanes; ac nid ammheuir ychwaith a'r nad yn gyferbyniol i'r wybodaeth hòno ein galluogir i ffurfio barn gywir am dani; canys gobeithiwn nad oes un dyn yn yr oes oleu hon a foddlona i gymmeradwyo nac i wrthod cyfundraeth a broffesa fod yn ddwyfol, heb roddi iddi arholiad teg o flaen brawdlys ddiduedd.

Diehon rhai pethau yn y llyfr hwn hefyd ymddangos yn fwy anhygoel ar yr olwg gyntaf nag y profa ymchwiliad manylach eu bod. Etto, ddarllenydd hynaws, tystiwn yn ddifrifol mai cyflwyno hanes cywir o'r gwrthddrych dan sylw yw ein prif amcan, a thystiwn ei fod i'w gael yn y llyfr hwn hyd y cyrhaedda yr hanes; ac nid fel y llyfrau a ysgrifenwyd yn ein herbyn, wedi eu sylfaenu ar yr ystorïau a'r chwedlau disail a draethir o ben i ben, ond oddiar y tystiolaethau cywiraf a allem gael, a rhesymau, ffeithiau, ysgrythyrau, a gwirioneddau, a ystyriwn yn anwrthwynebol.

Tystied ein hunanymwadiad yn gadael ein holl fasnach, yr hon oedd yn ennillfawr iawn, a dyfod saith mil o filltiroedd o ffordd, ac yna yn cydio yn gyntaf un yn ein hysgrifell, ac yn anturio ein poblogrwydd a ffafr pawb, i ddyrchafu y gyfundraeth ddwyfol hon, ynghyd â chymmeriad ei sylfaenwyr, o'r cyflwr iselaf o warad-

968 HISTORIAN'S OFFICE LIBRARY
The Church of Jesus Christ of Latter-day Saints

wydd, gan barhau i'w glanhau a'u golchi oddiwrth ystaeniadau a fwrid arnynt gan eu gelynion, fel y trinir *diamond*, nes eu cael erbyn hyn yn deg a hardd yn ngolwg miloedd drwy'n gwlad. Nid ein gallu ni a ychwanega un pelydr at yr hyn ydyw y grefydd hon eisoes, ond tystied hyn oll mai oherwydd ein bod yn gwybod eynt mai gwirionedd yw y cymhellwn hi mor daer i sylw ein cydgenedl anwyl. Pa ddyben amgen nâ lles ereill a allasai achosi hyn oll? Nid elw yw ein dyben, onide ni buasem yn ei chymhell i dylodion, ac yn rhad. Nid anrhydedd, onide yr ydym wedi colli y ffordd i hyny hefyd. O nage, ddarllenydd hynaws, nid amgen ein dyben nag a hysbyswn, sef, fel y mwynhao ereill y lles a'r bendithion dwyfol a radroddwyd i ninnau, ac a addewir i bob un a ufyddhao i'r gyfundraeth ddwyfol hon. Paham, ynte, nad yw ein tystiolaeth yn gywir yn eich golwg? Yr hyn a welodd y llygaid hyn, yr hyn a glywodd y clustiau hyn, gan lygaid-dystion, ïe, yr hyn a *wyddom* am eirwiredd yr hanes canlynol, a gymhellir i'ch sylw yn y llyfr hwn. Cymmerwch ef yn garedig a diduedd; darllenwch ef drwyddo yn bwyllog, gan weddio am Ysbryd y gwirionedd i'ch cynorthwyo i'w iawn farnu; ac os na chewch foddlonrwydd o'i wirionedd cyn codi oddiwrtho, ewch ac ufyddhewch yn gywir i'r drefn a ddengys; ac yna, os na phrawf Duw ei eirwiredd i chwi drwy ffeithiau digonol, dywedwch mai twyll yw Mormoniaeth, a chydunwn â chwi i'w chyhoeddi felly. Ac o'r ochr arall ynte, y mae y dyn a'i gwrthoda hi a'i phrofion yn ddibrawf yn gwneyd cam â'i enaid ei hun.

Crefwn am gael ein hesgusodi am bob gwallau cyfansoddol neu rammadegol a ddichon fod ynddo; a gweddiwn ar iddo fod yn offerynol i gyfarwyddo pawb a'i darlleno i'r iawn ffordd tua gwynfyd, er eu lles hwy, ac er gogoniant yr Hwn yn unig a deilynga bob mawl. Amen.

# ADOLYGIAD

AR

# DDARLITHOEDD Y PARCH. E. ROBERTS,

(GWEINIDOG Y BEDYDDWYR YN RYMNI,)

## YN ERBYN MORMONIAETH,

FA RAI A DRADDODODD YN NGHAERSALEM, MEDI YR AIL,
AC YN BETHANIA (CAPEL YR ANNIBYNWYR,)
MEDI Y TRYDYDD, YN NOWLAIS.

---

GAN CAPT. D. JONES, MERTHYR.

---

MERTHYR-TYDVIL:

CYHOEDDWYD, AC AR WERTH, GAN CAPT. JONES,

AC AR WERTH HEFYD GAN LYFRWERTHWYR ERAILL.

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

# AT Y DARLLENYDD.

HYBARCH DDARLLENYDD,—

Cewch yma areithiwr yn son am berson dyn o berfeddion America, heb ei weled erioed—am gymmeriad dyn, heb un tyst ar y peth ond ei elynion; ïe, cewch yma ddyn yn sefyll dadl gyhoeddus dros y fath bethau, yn erbyn dyn arall, yr hwn a adnabu y dyn Americanaidd hwnw, a'r cymmeriad hwnw, y dadleuir yn ei gylch. Pa beth oedd gan y cyhuddwr fel seiliau i'w osodiadau? Dim ond haeriadau noethion, ac yn aml cableddau dynion a amlwg broffesent eu hunain yn elynion i Joseph Smith a'i gyfundrefn. Ni feddyliodd efe erioed, dybygid, y gallai gelynion dyn ei gamliwio—ei erlidwyr ei gamgyhuddo—a'i lofruddiaid ymgyfiawnhau, wrth olchi ei waed gwirion oddiar eu dwylaw, drwy geisio arddangos mai dyn drwg a laddasent. Mwy tebyg i ymresymwr y gallasai Mr. Roberts sefyll ar dir y beibl, a churo ar ein hegwyddorion, nâ gosod ei hun i sefyll ar gyhuddiadau ein gelynion, a churo ein personau. Hefyd, os rhyw fath o gyfundrefn a gynnwysai o'i mewn brif athrawiaethau ei anwyl grefydd ef ei hun, a gurai efe, Ow—gresyn—cywilydd, na allasai beidio â gwawdio, gwaradwyddo, a chablu! Mae yr erthygl o "pob parch i gydwybod creadur rhesymol fy Nghreawdwr," yn galw am reswm, mewn dadl o fath hon, yn lle chwerthiniad,—beibl, safon mawr Cristionogaeth, yn lle y *Spaulding Romance;* ac apel at ddeall y gwrandawwyr, yn lle at eu nwydau.

Eithr gwell yw cynwrf, hyd yn nod o'r fath hyn, i'r gwirionedd, na dyfroedd llonydd. Gwell oedd yr erlid yn Philippi, a'r cythrwfl yn Athen, ar les lledaeniad egwyddorion pregethau Paul, nâ llonyddwch disylw a digyffro. Gwell oedd *bulls* ac anathemau y Pab, a chynllwynion y *friars* pabaidd am fywyd Luther, at ledaeniad ei ddiwygiad ef, nâ'r holl heddwch a dyoddefgarwch blaenorol a fuasai ato. A gwell yw cableddau a haeriadau disail Mr. Davies o Ddowlais, a Mr. Roberts o Rymni; ïe, gwell yw cableddau cyhoeddus yr heolydd a wneir gan eu dysgyblion hwynt, tuag at ledaeniad Mormoniaeth, nâ'r llonyddwch a geir mewn rhai manau ereill: a thra bo erlid a gwarth, er mai am fy mhen fy hunan a'm brodyr y disgyna—yn foddion lledaeniad y gwirionedd yn fy ngwlad anwyl—croesaw erlid! croesaw boen! croesaw warthrudd! Wele y cyrff, y cymmeriadau, a'r teimladau a'u goddefant, yn llawen, er eu bod yn dylifo allan oddiwrth wyr a ddylent wybod gwell.

Yr eiddoch yn ffyddlawn,

MERTHYR, *Hydref* 18*fed,* 1847. D. JONES.

# ADOLYGIAD, &c.

Y DDARLITH GYNTAF.

CYHOEDDWYD y ddarlith gyntaf drwy hysbysiadau ar hyd y parwydydd. Ac fel y dealler rhagfarn a gelyniaeth y Parchedig cyn iddo ddechreu ar ei orchwyl, sylwn ychydig ar ei hysbysiadau. Yn y llythyrenau brasaf oll, cyhoeddai fod ei ddarlith i fod ar "DWYLL MORMONIAETH." Ceisiai gan y cyhoedd gymmeryd yn ganiataol mai *twyll* yw y grefydd a wrthwyneba efe, cyn ei phrofi. Dengys hefyd fel y berwai gwaed rhagfarnllyd drwyddo oll hyd benau ei fysedd, yn y geiriau canlynol; "neu *haeriadau ofergoelus* Seintiau y Dyddiau Diweddaf." Gan bwyll, Syr; dyna yr hyn oedd yn aros i chwi ei brofi yn gyntaf. Addawai roddi hanes "codiad a *chwymp Joe* Smith, ynghydag eglurhad *diwrthbrawf* o'r *twyll* a'r *hudoliaeth* sydd trwy ei *holl* egwyddorion." Beth! trwy yr *oll* o honynt yn ddieithriad? A oes ddim cymmaint ag un egwyddor ddidwyll ynddo? Yr oedd Joseph Smith yn credu yn Nghrist, ac yn annog ereill i wneyd felly. Ai twyll yw hyny? Cynghorai bawb i edifarhau am eu pechodau, ac i ufyddhau i'r ordinhad o fedydd. Ai twyll a hudoliaeth yw hyny? Arferai y sacrament, ynghydag ordinhadau ereill eglwys Dduw, a'i reol oedd y Testament Newydd. Dyma a bregethai, a dyma a gyhoeddai; i hyn y bu efe byw; ac mai am wneyd hyn y merthyrwyd ef, yr ydym ni yn dystion. Ac etto, "twyll a hudoliaeth" yw yr *oll* o hyn, aïê? Yn mhwy y mae y "twyll?" Onid ynoch chwi, drwy broffesu bod yn "weinidog yr efengyl," pan ar yr un pryd yn cyhoeddi mai twyll a hudoliaeth yw y broffes o honi yn eich cyd-ddyn? Ac at hyny, profwch eich hun, debygwyf, yn ddifenwr; ac yn mhellach etto, profwch eich hun yn anwireddus, drwy haeru y seiliech y cyfan ar hanesyddiaeth *gywir, a barn rydd a hollol ddiduedd.* Pwy oedd i roddi barn ddiduedd? Ai yr hwn a gondemniai y peth am dwyll cyn ei chwilio? Ai y difenwr rhydd hwn? Barned y darllenydd pa mor rydd a diduedd yw gelyn proffesedig fel hwn; a pha goel a ellir roddi ar ddim a ddywed? Fe welir cyn y diwedd pa mor ddiwrthbrawf yw ei haeriadau.

"Bydd y dyfodiad i mewn drwy brynu tocynau am 6c. yr un, a'r holl gasgliad i fyned at dalu y draul sydd ar addoldy Elim;" sef un o gapeli Mr. Davies o Ddowlais. Dyma ffordd odiaeth i dalu dyled ty addoliad i Dduw, onide! Ai Ysbryd Duw sy'n blaid i ddynion godi 6c. ar eu cyd-ddynion am glywed camgyhuddiadau ar ereill. sy'n addoli yr un Duw mor gydwybodol â hwythau? A ydyw Duw wedi ymranu? Pa faint gwell nag adeiladu capeli trwy waed yw cynnal cyrddau fel hyn, pa rai sydd â'u tueddiad yn uniongyrchol i gyffroi y rhai a'u creda i dywallt gwaed gwirion? Ond, hollol groes i weith-

rediadau Ysbryd y Duw trugarog a graslawn, yw gweithredoedd fel hyn; ïe, mor hollol groes i dduwioldeb ag yw gwawl i dywyllwch. Ni erlidiodd gweision Duw neb am eu crefydd, ac ni wnant ychwaith. Ni thrigodd Ysbryd Duw erioed, ac ni thriga ychwaith, mewn un capel a godwyd, neu a gynnelir. drwy y fath ffordd â hona. Clywsom am lawer o gynlluniau i dalu dyled capeli, ond dyma ffordd newydd hollol, a'r greulonaf oll.

Yr olygfa nesaf sydd yn nghapel Caersalem. Yr oedd yno lawer o bobl wedi ymgasglu, ac yn ymddangos yn awyddus iawn i glywed Mormoniaeth yn cael dyrnod marwol, a'i chladdu am byth. Wedi dechreu yr ymgyrch aruthrol a diachos, trwy ganu a gweddio am gynnorthwy Ysbryd Duw, dewiswyd y Parch. John Hughes (gweinidog enwog gyda'r. Annibynwyr), Bethania, yn gadeirydd yn y Sanhedrim hon; eiliwyd a chymmeradwywyd yn wresog gan y Parch. D, Jones, Bedyddiwr, Caerdydd. Yr oedd yno cryn lawer o barchedigion ereill, anadnabyddus i mi, dan y pwlpud, pa rai oeddynt oll wrth eu bodd, debygid; ac yn cwbl gredu fod eu *champion* hwn yn myned i bregethu pregeth angladdol y gyfundrefn beryglus hono, sydd yn achosi iddynt gymmaint o anesmwythder, yn myned dan wraidd eu crefftau, a thrwy gipio eu hudoledigion fel pentewynion o'r gynneuedig dân, yn peryglu gobaith eu helw hwynt. Ni welais ddim erioed yn Nghymru mor debyg i'r Sanhedrim hono ag a gynnaliwyd y noson y bradychwyd yr Iesu diniwed. Pan ymwthiasom yn mlaen i blith y cantorion, er mwyn cael goleu i ysgrifenu, O! 'r gyddfau oedd yn estynedig er rhythu o bob cwr, fel pe buasai cyrn ar ein penau! Y cadeirydd, wedi hysbysu mai dyben y cyfarfod oedd dangos twyll y rhai a alwent eu hunain yn Seintiau y Dyddiau Diweddaf, a sicrhäai ar ei wir fod yr enw yn anmhriodol iawn iddynt; ac felly profodd fod gelyniaeth ei galon yntau at y Saint, druain, mor llawn, nes rhedeg dros ei wefusau yn llif, cyn dechreu yr arholiad. Sylwer, nad oedd neb o honynt yn dyfod yno i ddangos i'r gwrandawwyr pa un ai twyll, ai nad ê, yw Mormoniaeth, ac nid oeddynt am adael i neb arall roi *os* yn y peth, ond cyhoeddi eu hanathemau arni oll yn ddibrawf. "Cwrdd i *gondemnio* Mormoniaeth" fuasai yr enw cymhwysaf ar y fath beth.

Yn nesaf, ac yn llawn o'r un ysbryd barnol a didrugaredd, ymddangosodd yr areithydd *in full view* yn y pwlpud. Rhagymadroddodd cryn lawer, yn yr hyn yr oedd amryw haeriadau ac addefiadau, pa rai a ffurfiant safon i'w farnu ef ei hun arnynt. Wedi gorchymyn yn awdurdodol iawn am gau y drysau rhag i neb ei glywed ond y rhai oeddynt wedi talu, dywedodd nad oedd efe am ymdrin â phersonau—ei fod yn rhy foneddig i hyny; ond yn unig mewn cyssylltiad ag egwyddorion. Ac ar yr anadl nesaf braidd, a chyda gwawd anfoneddigaidd, triniodd berson Joseph, *alias* "JOE Smith," o'i ben i'w draed; ei lygaid, ei ddwylaw, ei wisg, ei het wellt wen, a'r *crape* du arni; ïe, hyd y nod ei fys, y fodrwy oedd arni, ac hefyd y certiadau oedd ar hono. A "dim trin personau," bid siwr! Beth oedd a fyno ei wisg, ei fodrwy, &c., â'i egwyddorion, tybied? Dyma enghraifft o'i foneddigeiddrwydd proffesedig y fynyd o'r blaen. Haerai fod Joe yn anonest, ac yn dwyllwr, am fod ei lygaid yn hanner cauedig, fel y dywedai ei dyst ef, sef y "Casswell" anwireddus hwnw, yr hwn a ddyfynai efe.

Ond camddesgrifiad o'i lygaid ef yw hwna, i ddechreu. Yn nesaf, dwylaw mawr cedd ganddo, meddai efe, "yr hyn a arwyddai ei fod yn byw yn fras." Ond, o'r ochr arall, meddyliwn fod dwylaw mawr yn arwyddo fod dyn yn weithiwr mawr a diwyd. Proffesa y parchedig drwy ei sylwadau yma, fod yn gryn *phrenologist*, ac addefa y *science* hòno fod cynydd yr aelodau yn ol fel eu gweithredir; ac etto croesa reolau y gelfyddyd hòno, croesa reswm, a phob peth, er cael rhywbeth i feio ar Joe Smith, druan, a dwyn hyd yn nod maintioli ei law yn dystiolaeth i'w erbyn! Chwi weithwyr Dowlais, cofiwch guddio eich dwylaw yn eich llogellau, neu ryw le, o olwg y parchedig hwn, onide condemnia chwithau am dwyllwyr, cyn waethed â "Joe Smith!" Pa ddrwg, neu pa egwyddor, a brofa yr "het wellt" i'w erbyn, Syr? Am y *crape*, dylasech fod yn ddystaw, canys addefa hyny fod hyd yn nod Joe Smith yn feddiannol ar deimladau naturiol, fel dynion ereill, i alaru ar ol y marw; ïe, ac yn dangos mwy o barch i'w coffadwriaeth nag a ddangoswch chwi tuag ato ef, hyd yn nod pan wedi marw, ïe, a marw yn hollol lân oddiwrth eich holl gamgyhuddiadau maleisus, a marw hefyd fel y bu farw lluoedd o dduwiolion a fu o'i flaen, sef trwy *selio ei grefydd â'i waed*. Oedd, siwr,—yr oedd ganddo "fodrwy aur ar ei fys" hefyd; a pha beth am hyny? Mae hyn yn arferiad cyffredin yn y wlad hòno. Yr oedd cymmeriad Joseph Smith mor uchel, a mawrion y wlad yn meddwl mor fawr am dano, nes yr anrhegwyd ef â'r fodrwy gyfeiriedig gan un o brif ddynion y wlad hòno, sef J. Arlington Bennett; ac yr oedd yn werth deugain dollar; a chyflwynodd Joseph Smith ei ddiolchgarwch yn ol am dani drwy yr argraffwasg. Dyna hanes y fodrwy i chwi, Syr. Sicrhäai y darlithydd cryn lawer, y rhoddai efe "hanes teg a chywir," rhag ofn na chredai dynion y sothach croeshaeriadol ag yr oedd efe ar wthio i lawr eu gyddfau am wirionedd. Ond barned y darllenydd ei hun eu geirwiredd.

Un addefiad da iawn a gawsom gan yr areithydd oedd,—"Mae Cristionogaeth yn anghyfnewidiol." ebe efe. Credwn bob gair o hyna, a daw i'w wyneb ef etto cyn hir. Brawddeg arall o'i eiddo yw, "O bob eithafion, yr eithafion mewn crefydd yw y gwaethaf." Ni allwn ddirnad paham yr arferodd y frawddeg yna, oddieithr i awgrymu fod "Mormoniaeth" yn cyrhaedd i'r eithafion mewn crefydd, y tu hwnt iddo ef. Ni welodd yn dda ein hysbysu beth yw y terfynau, o fewn pa rai y dylid crefydda; ond gan ei fod ef yn hòni bod yn "weinidog yr efengyl," bid siwr na wnthodai gael ei fesur yn ol y cynllun a osododd Mab Duw a'i apostolion o'r grefydd a broffesent hwy. Felly, gan iddo addef anghyfnewidioldeb Cristionogaeth, teg yw ei brofi ef yn ol yr hyn a geir yn y Testament Newydd am y grefydd hòno. Da genym weled erlidwyr fel hyn yn trafod ein *hegwyddorion*, yr hyn yn unig a ddylasai wneyd, yn lle duo cymmeriadau dynion, na wyr efe ddim am danynt, ond chwedlau eu gelynion proffesedig. Darllener hanes Paul am y Gristionogaeth hon, pa un a addefa ein herlidiwr yn anghyfnewidiol, yn 1 Cor. 12, 28:—"A rhai yn wir a osododd Duw yn yr eglwys, yn gyntaf apostolion [ai eithafion yw eu proffesu yn awr, ynte?]; yn ail prophwydi [ai dyma'r eithafion, Syr?]; yn drydydd athrawon, yna gwyrthiau [dyna'r hyn a alwch chwi yn "*witchcrafft*" ynom ni, am eu proffesu; ac onid eithafion o ddeistiaeth

gadfleddus yw hyn?]; wedi hyny doniau i iachâu [dyma oedd Cristionogaeth, Mr. Roberts, yn ol eich Beibl chwi a minnau; ac meddwch, y mae hi yn anghyfnewidiol!], cynnorthwyau, llywodraethau, rhywiogaethau tafodau." Beth yw eich ffiniau chwi, Syr? Pa fodd y deallwn pan elom dros y terfynau? Dangoswch eich ffiniau i'r byd, a phwy yw eu hawdwr. Gwelwch mai y Testament Newydd yw safon y Saint; a dyma Paul cyn belled yn yr eithafion â ninnau. Pa le yr ydych chwi? Os na ddeuwch yn mlaen hyd yma, cofiwch eich bod dan ddedfryd Paul yn Gal. 1, 8, a bod ei "anathemau" yn grogedig uwch eich pen, serch eich bod yn y pwlpud; cofiwch fod eich rhaff eich hun yn eich crogi hefyd, sef fod "Cristionogaeth yn anghyfnewidiol!!" Beth a wnewch? Os gwadwch Paul, bydded rhyngoch chwi ag ef. Ond peidiwch byth etto a dringo i bwlpud dan yr enw o "bregethwr efengyl," os na phregethwch yr efengyl anghyfnewidiol hon. Hyd yn nod pe na feddai y Mormoniaid, fel eu gelwch, y doniau a'r swyddau hyn, mae hyd yn nod eu proffes o'r cynllun anghyfnewidiol, a'u hymgais am y bendithion sydd yn addawedig, yn fwy cysson nag yr ydych chwi drwy eu gwadu yn wyneb-galed, ac erlid, a difenwi y rhai sydd yn eu ceisio, am *witches*. Yn mhellach etto, gwelir yn Eph. 4, mai dyben uniongyrchol gosodiad y swyddau a'r doniau hyn yn yr eglwys oedd, "i berffeithio y saint, i waith y weinidogaeth [sef y weinidogaeth hòno a addefasoch chwi yn anghyfnewidiol], i adeilad corff Crist." Mae gwaith Duw yn eu gosod i'r dyben hyny, yn profi nad oedd yn bosibl "perffeithio y Saint," na gweinidogaethu hebddynt y pryd hyny; ac y mae eich *addefiad* chwithau yn dweyd nad ellir gwneyd hyny hebddynt yn awr. Paham ein herlid ni am broffesu y pethau hyny, ynte? Dyma chwi ben-ben a'ch brodyr pregethwraidd yn awr! canys haerant hwy oll yn unllais, braidd, fod y pethau yna yn afreidiol, ac nad oedd eu heisieu, ond i sefydlu Cristionogaeth. Ond dywed Paul mai "er llesâd ac adeiladaeth i'r eglwys" yr oeddynt, ac mai "i berffeithio y Saint." Dyna fel y dywedwn ninnau; ac ni ellwch chwithau wadu hyny mwyach. Annogai Paul y saint i "gynnyddu yn mhob peth," sef o'r pethau uchod, pa rai "a osododd Duw yn yr eglwys." Paham y gwadwch chwi hyny? Drwy redeg yr yrfa hon y cynnyddai y rhai hyny, ac yr elent i'r "eithafion" o santeiddrwydd mewn crefydd, ïe, nes cael eu cipio i fyny i'r drydedd nef, rai o honynt. Addefai Paul, yn 1 Cor. 1, 7, nad oeddynt yn ol mewn un ddawn. Annogai hwynt hefyd i frysio at, ac i ddysgwyl am, ddyfodiad dydd Duw, &c.; ïe, annogai Crist, a'i holl weision, hwynt i ymdrechu cyrhaedd yn y blaen gyda'r grefydd hòno, hyd nes cyrhaedd yr "eithafion" o honi. Dyma "eithafion" y Gristionogaeth hòno a addefa Mr. Roberts yn anghyfnewidiol. Dyma ei dyben, a dyma a wna drwy ei doniau ysbrydol, y rhai a wawdia y parchedig hwn, yr hwn a ddywed mai yr "eithafion mewn crefydd yw'r gwaethaf oll." Nid gweddus i enau neb yw y fath haeriad, heblaw i ddeist proffesedig. Cyssyllter hyn â'i frawddegau dilynol, a gwelir mai deist proffesedig yw y dyn. Dywedai, "Pe *infidelity* a fuasai y pwnc oedd ganddo i'w drin, y buasai hyny yn ogoneddusach o lawer; y cawsai felly gyfleusdra i ddangos ei dalent â meddylddrychau ardderchocach nag a geir yn Mormoniaeth; mai dyma y pwnc distadlaf, gwaelaf, iselaf, a brynt-

af o bob peth." Gofynwn beth yw y gwrthddrych gwael hwnw? Yr unig ateb yw, Y Gristionogaeth anghyfnewidiol hono ag a broffesa y Mormoniaid!

Dywedai ein darlithiwr hefyd, nad oedd efe am ddysgu dynion rhesymol, na rhoddi arfau yn eu dwylaw i ymladd yn erbyn Mormoniaeth; ond yn unig dysgu y rhai gwibiog a'r plantos sy'n bwhwman, pa fodd i'w *insulto* fel peth islaw eu sylw [ac etto yn ei ddwyn i'r fath sylw ei hunan!], fel y cauont eu clustiau a'u drysau rhagddi; peidio a gwrando ar ddim a ddywedant, ond ei rhestru gydag *interlutes* Twm o'r Nant, a'i thaflu i'r *witches*. Ie, dyma gynghor y parchedig hwn! O, mor ddidrugaredd yw efe at grefydd anwyl ei gyd-ddynion, yr hon y profa eu holl ddyoddefiadau a'u colledion erddi, eu bod yn fwy cydwybodol yn ei phroffesu nag yw efe yn ei grefydd yntau. Amlwg yw nad oes ynddo deimladau Cristion, na boneddigeiddrwydd, onide arbedasai y ddedfryd greulon hon ar grefydd ei gymmydogion, o leiaf hyd oni chynnygiasai gymmaint ag un prawf i'w herbyn. Hollol groes i hyn oedd cynghor Paul, sef, "Profwch pob peth, a deliwch yr hyn sydd dda," ie, yn dda, hyd yn nod mewn Mormoniaeth. Amlwg yw nad oedd Paul yn perthyn i eglwys y Bedyddwyr erlidgar hyn. "Peidiwch a'u gwrando," aïe, Syr, h. y. rhag ofn y gwelent eich dichell chwi i'w cadw mewn tywyllwch. Gwyddech pe deuent i glywed y ddwy ochr, yr amlygid eich camgyhuddiadau chwi, ac y deuech i'r gwarth a deilynga y cyfryw ymosodwyr diachos. Y mae eich crefft chwi, erlidwyr, wedi ei sylfaenu ar "beidio gwrando" yr ochr arall; a chyn gynted ag y daw rhai o'ch hudoledigion i chwilio yn ddiduedd, argyhoeddir hwynt o'ch twyll chwi. Dyma y peth sy'n codi gwayw arnoch chwi a'ch partneriaid pregethwraidd. Ystyriai pawb rhesymol mai *insultio* eu synwyrau hwynt yr oeddych drwy y fath gynghor. Ai chwychwi yw dewiswr crefydd i'ch cyd-ddynion? Ai wrth eich *ipse dixit* chwi y bernir dynion rhesymol? Os nadê, paham nad ydynt mor addas i farnu drostynt eu hunain ag ydych chwithau? Arwydd eglur o dwyllwr gwybodus, yw gwaeddi, "Peidiwch a'u gwrando." Pregethwyd yr athrawiaeth boblogaidd yna yn mhob oes, ac uwchben pob cenadwri a anfonodd Duw i'r byd. Yr oedd raid fod llawer o frodyr i'r Parch. hwn yn yr hen fyd, canys dysgasent bawb ond wyth i "beidio gwrando" ar Noah. Yr oedd yr athrawiaeth hon o "beidio eu gwrando" yn boblogaidd iawn ar ol y diluw hefyd, a lluoedd o broselytiaid iddi, megys eglwysi lluosog yn Admah, Tzeboim, Sodom, Gomorrah, &c. Pan rybyddid hwynt i adael eu traddodiadau andwyol, ac i ddychwelyd at y gwir, danfonid haid o'r colegau i waeddi nerth eu pen, "peidiwch â'u gwrando." Heb son am yr eglwysi mawrion hyny oedd yn Babilon, yn Tyrus, Sidon, Jerusalem, &c., pa rai oeddynt wedi eu sylfaenu ar yr athrawiaeth o "beidio gwrando" dim a ddywedai neb arall, cyfeiriwn at yr un boblogaidd hono oedd yn Athens; a pha rai oeddynt wedi dysgu yr athrawiaeth o "beidio gwrando" ar Paul. Mae'n wir fod yno ambell un fel y sydd yn Dowlais, ddim yn bur gadarn yn y ffydd o "beidio gwrando." ond yn dyfod i wrando drostynt eu hunain, ac yn clywed pob peth mor groes gan y Saint i gamgyhuddiadau eu herlidwyr, nes agoryd eu llygaid a chofleidio y gwir. Ond y mwyrif yn myned heibio gan ysgwyd eu

penau, ac ambell un yn ysgyrnygu ei ddannedd, dan ddylanwad y rhybydd a gawsai o'r pwlpud i "beidio gwrando." Ond y mae blaenoriaid y sect hon yn ffyddlonach yn eu rheolau dyscyblaethol na'u cyndadau; canys gwna y rhai'n y trosedd o'r gorchymyn hwn, "peidio eu gwrando" yn bechod ysgymynedig, fel mai wedi unwaith fyned at y blaid anmhoblogaidd sy'n dweyd "profwch bob peth," mae eu pechodau yn anfaddeuol! Ni chânt byth ddyfod atynt yn ol. Gwna hyn i ni gofio am y *Jailor* a fygwthiai droi y carcharorion allan i'r byd, fel cosp arnynt am eu bod yn ymddyddan a'u gilydd! "Peidio gwrando" arnynt oedd arwydd-air hwnw, fel y *Jailors* hyn, tra mai y fendith fwyaf i'r caethion truenus fyddai cael eu hesgymuno o'r fath garcharau i ryddid, fel y gallont brofi pob peth a ddewisant, yn enwedig i brofi cyfundrefn a broffesa fod yn ddwyfol genadwri atynt. Felly gwelir fod crefft y Parch. hwn yn hen a phoblogaidd iawn; ac y mae y prophwydoliaethau yn arddangos y byddant mor llwyddianus yn y dyddiau diweddaf, i gael gan y werin "beidio a gwrando," ag yn un oes flaenorol. Megys yr oedd yn nyddiau Noah ac yn nyddiau Lot, sef "peidiwch au gwrando;" felly y bydd yn y dyddiau cyn dyfodiad Mab y dyn. Ac y mae yn amlwg fod eglwys fawr iawn i fod ar y ddaear yn y dyddiau diweddaf yn pregethu yr athrawiaeth hon, sef "*peidiwch a'u gwrando*," wrth y rhai y dywedir, "Yn gymmaint ac i mi alw, ac i chwithau wrthod; i mi estyn fy llaw, ac nid oedd neb yn *ystyried*;" h.y. "*peidiasant a gwrando*." Ond diystyrasoch fy holl gynghor i (drwy "beidio gwrando,") ac ni fynech ddim o'm cerydd. Yr achos oedd, am fod eu pregethwyr yn gwaeddi "peidiwch a'u gwrando." "Minnau hefyd a chwarddaf yn eich dialedd chwi; mi a wawdiaf pan syrthio arnoch yr hyn yr ydych yn ei ofni." Beth y maent yn ei ofni? Ofna y rhai hyn i'w haelodau fyned at y Saint, ac ofnant y bydd gobaith eu helw yn pallu; dyma a ofnant. Pa hyd, Gymry cyfrifol, y gadewch i ddynion fel hyn dynu y llen dros eich llygaid, fel y gallont ddadfotynu eich pocetau, a'ch fflangellu wedi'r cwbl, os meiddiwch roi eich barn mewn gweithrediad! Paham son am gaethion duon yr America, tra y mae cynnifer o gaethion yn ein hymyl, gymmaint truenusach ag yw eu crwyn yn wynach! Cyfaddefodd yr areithydd, mai pa erchyllaf y grefydd mwyaf yr *impudence*. Gwiriodd hyn hefyd ei hunan, drwy ei haeriadau "*impudent*" ac erchyll. Haerai mai creaduriaid y mwd yw y Saint; eu bod yn dianc i'r mwd pan gonerir hwy. Ond gan bwyll, Mr. Haerwr; ceir gweled maes o law pwy yw "creaduriaid y mwd!" A pha un addefwch eich concro yn "foneddig," fel y dywedwch y dylid gwneyd. Eithr ofer sylwi ar holl haeriadau "*impudent*" y gwr hwn; ond dangoswn enghraifft o'i dwyll resymeg yn dyfynu o'r *Chambers' Religious Impostors*:" hanes castiau pechadurus rhyw Hamer, Munser, R Brothers, ac ereill; ac yn ceisio tagu ei wrandawwyr â'r fath hanesion gwarthus, er darparu eu casineb at Joseph Smith. Beth oedd i'r personau hyny na'u gweithredoedd a wnelont â Joseph Smith, mwy nac a Mr. Roberts ei hun? Dim! Ei resymeg hon yw, y mae dynion drwg wedi bod, ac y mae hyny yn profi J. Smith yn gyfryw. Pa grotyn heb son am Golegian ar na allai resymu yn well na hyna! a llawn mor addas y gellid dweyd wrth Mr. R. "ti yw y gwr," ag y gall yntau gyf-

eirio at J. Smith. Pa "enghreifftiau" yw y rhai hyn o Formoniaeth? Un o enghreifftiau ereill y Parch. hwn, yw rhyw Ann Lee, yn proffesu mai hi oedd "*gwraig yr oen.*" Ac felly Joe Smith, aie! Etto, ebe efe, "Hònai Johana Southcoat fod yn feichiog o'r Ysbryd Glân, pan oedd y dropsy arni." Wel, Roberts, druan, a hònodd "Joe Smith" ei fod yn feichiog o'r Ysbryd Glân? Pa fodd yr haerwch fod y rhai hyn yn enghreifftiau cywir o "Joe Smith?" Pa wallgof-ddyn erioed a draethodd y fath ddwlni a chymhariaethau? Barned y "plantos bwhwmanaidd" a gyfarchai, pwy yw yr "*idiot.*" Diolchwn i chwi, Mr. Roberts, ar yr un pryd, am gyfaddef mai rhyw Jemima Wilkins oedd tarddiad yr ystori "*o gerdded ar y dwfr.*" Canys cyhoeddodd a phregethodd eich brodyr pregethwraidd chwi, mai Joseph Smith oedd tad y peth yna hefyd; a rhyfedd iawn na buasech chwithau wedi tadogi hona fel pob celwydd arall arno ef. Ond, coelir chwi am hyn, bid siwr, fel am bob peth, serch eich bod yn groes i'ch gilydd!

Wedi cyweirio ei wely yn meddyliau ei wrandawwyr, gyda yr hanesion hyn, fel y gwna y mochyn yn ngwellt ei domen, ac wedi eu cael yn barod i lyncu yr hyn a ddewisai efe, fel yr adar bach yn y nyth i dderbyn yr hyn a ollyngid i'w pigau, darllenodd ran helaeth o'r "*Mormonism Unveiled,*" anwireddus hwnw sy'n cyhuddo "Joe Smith" o gloddio yn y ddaear am arian, ei fod yn *Necromancer*, *fortuneteller*, witch, chwareuwr gwniaduriau, ac yn edrych drwy *peepstone* am drysorau, &c., &c. A rhyfedd fel y llyncid y cyfan i lawr am wir; ond yma etto dyfethodd y cogydd ei gawl, drwy haeru mai gwallgofddyn oedd Joe Smith, a dwyn llu o "dystion" o hyn; ac ar yr un pryd haerai fod Joe yn cyflogi llawer o ddynion i gloddio am arian, ac heb gael dim. Beth! llawer o ddynian yn dilyn ac yn gweithio i *wallgofddyn* am flynyddau, hyd nes yr oedd eu cloddfâu yn amlwg ar hyd y wlad, ac heb gael dim tâl. Pwy glywodd son am y fath beth? Ac etto haera ei dystion fod "Joe yn *fedrus iawn*" yn y gorchwyl hyn. Ymffrostiai y darlithiwr fod ganddo dros 50 o "foneddigion" *duwiol* a da i brofi y cyhuddiadau hyn; ond gallesid cael deg cymmaint o dystion a rhai mor *foneddigaidd a duwiol* â'i dystion yntau, i dystio gwaeth cyhuddiadau yn erbyn hyd y nod Mab Duw. Dangoswn er ei gywilydd ef, os oes cywilydd ynddo, pa fath rai yw ei dystion, a phwy yw ei bartneriaid ef; canys nid gwell y rhai sy'n caru ac yn lledaenu celwyddau, na'u dyfeiswyr. Dywedwn hefyd oddiar wybodaeth, mai ystoriau anwireddus yw y rhai yna, wedi eu dyfeisio rai blynyddau ar ol sefydliad eglwys y Saint; mai gelynion proffesedig â'u cynlluniodd, yn bwrpasol i geisio rhwystro eu hudoledigion i wrando ar y Saint, ac i chwilio am y gwir. Ceir eu hanes a'u hachau, a'u dybenion annuwiol yn hanes y "*Spalding Romance.*" Y gwir yw, ni wariodd Joseph Smith nai dad un diwrnod erioed i gloddio am drysorau cuddiedig yn y ddaear; ac ni fu erioed son am hyny, hyd nes yn mhen blynyddau wedi iddo gael y llafnau. Yr unig achlysur a gawsant i'r holl ddichell gyfrwys hon, oedd, oherwydd ddarfod i Joseph Smith, dros ei dad, helpu ffermwr oedd yn byw yn eu hymyl, i gael ei gynhauaf i mewn; y ffermwr hwnw, yn meddwl y gallai fod rhyw drysorau mewn moelglawdd oedd yn un o'i feusydd ef, ynghyd â'r holl ddynion a weithient iddo y dydd hwnw, a gloddiasant ran o'r dydd yn unig. Dyma'r holl gloddio am arian a fu; ac nid *drosto ei hun* y darfu

J. Smith gloddio erioed am arian cuddiedig. Ond beth pe gwnaethai, pa ddrwg fuasai hyny? Dim mewn un dull! "Ond, y *peepstone* hono" meddant, "drwy yr hon y proffesai weled i'r ddaear, oedd y drwg." Wel, ddarllenydd, rhag bod hono yn dy flino, sicrhaf mai celwydd iw pob sill o'r stori, a'r cyfan ond a nodwyd. Nac oes, meddaf, ac ni fu sail na chysgod o wir i'r cyhuddiadau yna yn erbyn Joseph Smith. Pethau dychymygol ydynt er cynnal eu crefftau eu hunain, a dial ar y dïeuog. Yr oedd Joseph Smith a'i holl berthynasau yn bobl o gymmeriad uchel a hollol ddifrycheulyd, ei dad yn ffermwr parchus, a'r lleill oll mewn bywiolaethau parchus a chysurus, serch i'w bump o dystion ef haeru yn groes i hyny. Am y "*Bibl euraidd*" y soniodd, gwyddai y Parch. hwn neu dylasai wybod, canys yr ydym wedi cyhoeddi i'r byd droion, nad oes genym "*feibl euraidd,*" pwy a wyr oreu, ai nyni ynte ein gelynion? Yr un yw ein bibl ni a beibl yr holl Gristionogion, sef yr hen destament ar newydd. Paham haeru celwyddau enllibus fel hyn, Syr? Onid er codi casineb yn ein herbyn, a darparu arfau i ddynion gwaedlyd fel eich hunan i'n merthyru. Ie meddwn, palmantu y ffordd i hyny yn meddyliau eich hudoledigion yw eich prif amcan, yn haeru y fath gelwyddau am danom, gan rybyddio y bobl i "*beidio gwrando.*"

Haerodd y Parch. hwn gyda llawer o wawd, fod yr angel a ymddanghosodd i J. Smith wedi hysbysu iddo yn fanwl iawn am y wraig a gaffai, a rhyw blentyn oedd i fod; ond ni ddywedodd efe ddim am ei genadaeth, ebe efe, sef y peth mwyaf oll, "dim *particulars* am hyny." Er gweled enghraifft o ddigywilyddra ac haerllugrwydd digyffelyb y Parch. hwn, sylwer na ddywedodd Joseph Smith, na neb o'i gyfeillion, ddarfod i un angel son gair erioed am ei wraig na'i blentyn; dim sill. Celwydd ei elynion yw'r cwbl! Ac am yr haeriad arall, na roddodd hanes ei genadwri, celwydd gwybodus i'r areithydd Parchedig yw hyna; canys da iai lyfr yn ei law ar y pryd ag y daeth hyn o'i enau, yn yr hwn yr oedd hanes manwl am genadwri yr angel; ond dim gair o son am na gwraig na phlentyn yn y peth! Gwel "*Hanes y Saint,*" o tudalen 15—22. Beth sydd rhy ddrwg gan haerwr fel hwn i'w ddweyd o bwlpud? Am ei haeriadau, y ceffid y llafnau pan fyddai y plentyn yn flwydd oed, ar gist yn ymsymyd yn y ddaear, mai plentyn a gaffai eu gweled gyntaf; y daeargryn a'r llosgi, &c., &c., celwyddau, heb air o wir ydynt, fel y gwelir wrth ddarllen hanes y Saint eu hunain am y pethau hyn. Gofynwn, beth ond cariad at gelwyddau yn fwy na'r gwirionedd, a achosa i'r Parch. hwn ddyfynu celwyddau dychymygol ein gelynion proffesedig, yn lle sylwi ar ein hanes ni o'r peth? Ai nyni, ynte hwy, a ddichon ddesgrifio ein hanes a'n hegwyddorion gywiraf? Paham credu pob peth a dystir i'n herbyn, a gwrthod pob amddiffyniad o'n heiddom ninnau? Ai teg; ai dynol hyn? Dywed fod J. Smith wedi symud y gist o'r fan lle y bu am oesoedd, a'i chuddio o dan ei aelwyd ei hun, er ei diogelu yn well nac y gallasai Duw. Pwy a ddywedodd hyny, Syr? Nid neb o'r Saint; canys gwyddant mai twyll yw hyna, er ceisio dangos lliw drwg ar y gwir. Onid drwy offerynau y gweithia Duw? Os nad e, pwy, a pheth a honwch chwi fod? Ac os trwy rai offerynau, paham na allasai Duw ddiogelu y "gist" fel ei galwch, trwy hyd y nod Joe Smith, ie hyd y nod dan ei aelwyd, os dewisai orchymyn hyny? Etto yr ydym wedi cyhoeddi, ac yr oedd y llyfr yn llaw y darlithiwr yn dangos, mai tra yr

oedd y llafnau wedi eu cyflwyno i feddiant Mr. Smith, ac yntau yn eu cyfieithu, y cuddiai hwy, ac mai ar y prydiau y gosodid ar ei dy gan ddynion drwg. i'r dyben o'u dwyn oddiarno. Sylwer ar y Parch. yn ei grogi ei hun etto. Haerai fod rhai o'i dystion yn dweyd fod y gareg gan Joe yn cloddio am arian, flynyddau cyn bod son am y gist a'r llafnau; yna haerai fod y gareg ag y cyfieithasai Joe drwyddi, yn y gist! Crogodd y Parch. ei dystion ei hun yma. Pa fodd, gofynwn, y gallasai y gareg hono fod mewn meddiant i chwilio am drysorau am flynyddau, a bod yn y gist anadnabyddus yn y ddaear? Deuwch Mr. R.; dyma le i chwi ddangos ychwaneg o'ch sophistry, i ddadgylymu y cwlwm hwn o'ch heiddo. Diolchwn i chwi am ddwyn tystiolaeth y Mr. Hale hwnw gerbron, serch ei fod yn elyn, ac yn dad i wraig Joseph Smith. Cofiwch ddarfod iddo ef addef ei fod ef wedi gweled y gist a gynnwysai y llafnau, ei bod yn ei dy ef, ac ei fod ef wedi teimlo ei phwysau â'i ddwylaw ei hun. Da iawn; nid amheuir ei bodoldeb mwyach, ynte? Er na welsai ei chynhwysiad, etto dioddefodd "Joe," ebe chwi, gael ei droi allan o'r ty, a llawer ychwaneg, er ei mwyn. Prisiai hi mor fawr, ac ufyddhai i'r gorchymyn a gawsai o'i phlegid, serch i Mr. Hale ommedd ei ferch yn wraig iddo o'r herwydd. Nid oedd wahaniaeth beth oedd defnydd ac ymddangosiad allanol y gist hono; canys un o waith J. Smith oedd hi, er diogelu y llafnau a gawsai yn y gist gareg gyntefig. Am briodas Mr. Smith, gwawdiasant lawer, ei fod wedi dwyn ei wraig, &c. Ond anghofiasoch hysbysu fod Miss Emma Hale gyfeiriedig dros 22 oed ar y pryd; fod ei holl berthynasau yn ddieithriad, yn foddlon i'r briodas, ac yn awyddus am dani, ond ei thad yn unig; yr hyn ffeithiau a glywais o enau Mrs. Smith ei hun; ac o ganlyniad ei bod yn gwbl gyfreithlon iddi briodi y neb a ddewisai. Ond addefasoch mai yr unig achos i'r tad ei gommedd, oedd ei elyniaeth at grefydd Joe Smith. Ac onid oes llawer o rieni, hyd y nod yn Nghymru, wedi eu dysgu i fod yn fath o erlidwyr penboeth, dan ddylanwad eich ystoriau chwi ac ereill, fel yr ymddygant yn greulonach nac y darfu Mr. Hale? Adwaenom rieni sydd yn perthyn i'r Bedyddwyr, wedi alltudio eu plant dros eu drysau, ac yn eu herlid hyd eithaf eu gallu, yn unig oherwydd iddynt ddewis eu crefydd yn gydwybodol. Adwaen ddegau o'r cyffelyb. Pa ryfedd, ychwaith? nid yw ond canlyniad naturiol i'ch chwedlau celwyddog chwi a'ch partneriaid erlidgar. Felly Mr. Hale, ebe chwi; ac ar yr un pryd addefasoch mai "oherwydd fod Joe yn cloddio am arian" y gommeddodd ei ferch iddo! Gwrthddadl arall a ddygai y darlithiwr yn erbyn Joseph Smith oedd, fod 116 o dudalenau o'r ysgrif wedi colli, ac na allai Joe eu cyfieithu wedyn. Wel, ymchwiliwn beth a brofir yna. Dyma ei elynion yn addef bodolдeb yr *ysgrif*, neu gymmaint a hyn o honi etto. Ac meddant hwy, "Ysgrif oedd o ysgrifeniad Martin Harris, o enau Joe Smith, yr hwn o'r tu arall i flanket a gyfieithai y llafnau, a'i ben mewn het." Dyma addefiad da iawn erbyn gwaethaf ei elynion; canys nid hanes Joseph Smith na'i gyfeillion yw dim o hyn; ni soniasant hwy erioed air am na "*blanket*," "na het," na "*peepstone*," na "chloddio yn y ddaear am drysorau" &c., fel y gallasai y Parch. ddeall pe mynasai y gwir, canys daliai un o'n llyfrau yn ei law, yr hwn sydd yn rhoddi hanes gwahanol iawn i'r hyn a ddyfynai efe o'r "*Mormonism Unveiled*," gwaith y "Caswell" elyniaethus, a gelynion ereill i ni. O barthed i'r ail gyfieithu, daliodd Mr. Smith y dichellwyr yn eu dichell,

drwy beidio â chyfieithu; canys yr oedd ei elynion wedi cyngreirio â'u gilydd, a chyfnewid yr ysgrif wreiddiol. Pe cyfeithiasai efe yr un peth air am air, penderfynasent gael achos i'w erbyn, yr hyn nid oedd yn bosibl ei ragflaenu ond drwy beidio cyfieithu yr ail waith. Mae gwaith eich lladron ysgrifen yn lladrata, ac wedy'n ar eich addefiad chwi yn dweyd celwydd, eu bod wedi colli yr ysgrif yn profi eu bod ddigon drwg i'w chyfnewid, er taenu celwydd i wrthwynebu y gwirionedd. Mae llawer o'i haeriadau yn rhy warthus braidd i'w hadolygu ac yn dweyd gormod i neb o garwyr y gwir eu credu; megys "fod Martin Harris i ddilyn ol traed Joe Smith yn yr eira er cael gweled y fan lle yr oedd y llafnau," pan ar yr un pryd daliai yr hanes yn ei law, yr hwn a ddangosa mai ar yr 22ain o fis Medi y cafodd Joseph Smith y llafnau! a phwy erioed a welodd eira ar y ddaear yn yr Unol Daleithiau, nac yn Nghymru, ar y tywydd poeth hwnw? Hyd y nod ar y fath haeriad a hwn, clapia ei wrandwwyr eu traed a'u dwylaw mor drwstiog, â phe buasent mewn chwareudy; a pho fwyaf o'r fath gymmeradwyaeth a gaffai y darlithiwr, mwyaf yr ymsythai, y chwysai, ac y bloeddiai ei haeriadau anwireddus a disail. A mwy nac unwaith yn nghanol y fath floddest, condemnia Lyfr Mormon o'i ddechreu i'w ddiwedd yn gelwydd bob gair; y celwyddau mwyaf amlwg a digywilydd, heb gymmaint ag un frawddeg ramadegol ynddo; y llyfr ffolaf a mwyaf diddefnydd yn y byd, &c., &c. Ie, gwnai hyny heb roddi enghraifft, na darllen brawddeg o hono; ac y mae yn amheus iawn genyf a welsai efe erioed y llyfr. Etto gofynwn, os llyfr felly yw, ai awdwr yn wallgof-ddyn, paham y rhaid darlithio cymmaint yn ei erbyn, canys ar ei addefiad ef nid yw yn bosibl i'r fath lyfr dwyllo dynion yn yr oes oleu hon! Y prif brawf a gynnygiai o'r haeriad hwn oedd oherwydd fod "llygaid Joe yn hanner cauedig." Pa brawf yw hyny, hyd y nod pe gwir? Ond meddwn etto, camddarluniad hollol yw hyn o'i berson; onid beio ar waith y creawdwr yr ydych wrth hyn, Syr? Gan i chwi addef pwysfawrogrwydd llygad dyst, un o'r cyfryw sy'n tystio yn wirioneddol i chwi, mai camgyhuddiadau yw yr oll o'ch heiddo, braidd, yn erbyn Joseph Smith, a'r grefydd a broffesai. Mae y llygad dyst hwnw wedi cyhoeddi hanes y pethau uchod, ie, hanes gwirioneddol, ac y mae yn eich herio chwi a'r holl fyd i'w wrthbrofi gydag ysgrythyr, rheswm, neu dystion. Yr oedd yr hanes hwnw yn eich llaw neu o flaen eich gwyneb, pan yr haerech chwithau yn hollol groes iddo; yr hyn a brofa i bob dyn gonest eich bod yn caru celwydd yn hytrach na'r gwirionedd. Barned y darllenydd beth oedd teimladau y llygad dyst hwnw, pan yn nghanol y fath olygfa, yn gwrando ar ddyn a broffesai fod yn "weinidog yr efengyl;" ie, o'i bwlpud yn haeru y fath gelwyddau niweidiol a disail, yn hollol groes i'r hyn a welsai ei lygaid ei hun, ac a glywsai ei glustiau,—pan yn gwrando, meddaf, ar hyn oll, ac heb fodd yn y byd i agor ei ben iw gwrthbrofi, nac i argyhoeddi ei gyd-deithwyr tua barn, pa rai a lyncent yr hylif anwireddus mor awyddus ag yw yr hydd am yr afonydd dyfroedd! Coffhäodd sefyllfa druenus yr hudoledigion hyn ni am y ddiareb a ddywed y "dyry celwydd y byd ar dân tra fo y gwirionedd yn goleu ei fatchen." Mewn *bombast* mawr haerai y Parch. lawer am ryw *second sight*, yn datgan fod Beibl newydd yn y nos, &c.

Un o'i fuganod ei hun oedd hwna hefyd, er dylanwadu ar y werin, i goelio nad yw y Saint yn credu yr un Beibl â hwythau; a thrwy hyny enynu y fflam o erlidigaeth yn boethach i'w herbyn. Haerai lawer mewn gwawd, fod Joe wedi bod yn brwydro yn galed â'r angel, ac fod hwnw wedi gorchymyn iddo symud y llafnau i fan arall. Pe gwir yr haeriad cyntaf, onid oedd ei resymeg ddeistaidd yn condemnio yr Hen Destament, yn gyfesur am ein hysbysu am yr ymdrech fu rhwng Jacob a'r angel? Ond er gweled yr anwiredd o'r haeriadau yna hefyd, gwel "*Hanes y Saint*," tudalen 20. Yn nesaf, haerodd fod "Joe Smith wedi addaw y caffai Martin Harris y llafnau i'w dangos i bawb." Yn hyf y gwrthddywedwn hyna hefyd; nid oes air o wir ynddo. Ped ystyrid faint o waith fuasai hyny gwelid yr afresymoldeb or fath haeriad. Pe dygasai hwy oddiamgylch y byd sy'n cynnwys cynnifer o gannoedd o filiynau o bobl, pa faint fuasai y daith ar gost? Nis gellid ei gwblhau mewn miloedd o flynyddoedd! Wedi hyny dywed fod Joe wedi cael *datguddiad newydd*, yn dweyd na chaffai neb ond tri weled y llafnau; a'r datguddiad hwnw oedd yr hyn a geir yn Llyfr Nephi, tudalen 548, ebe efe. Wel, darllenwn y tudalen hwnw, ac ni cheir gair o son am ddim yn debyg i hyny, ond yn tudalen 549, y mae son am dri o bersonau; ond nid dim yn debyg i'r hyn a ddywed efe; nac oes un gair o son yno am fod yn "dystion am y *llafnau*," dim meddwn: ac y mae y llyfr ar gael drwy'r wlad, ïe yn nghymydogaeth Mr. R. Yr hyn a ddywedir am dri o bersonau yn y fan y cyfeiria, yw addewid Iesu Grist i dri o'i ddyscyblion, na phrofent farwolaeth hyd oni ddeuai efe ar gymylau y nef; ond y caffent fyw hyd eu cyfnewidiad olaf; dyna'r cwbl! A dyma enghraifft o dwyll-resymeg, cam-ddyfyniadau, a thwyll y darlithiwr hwn. Paham galw yr hyn oedd yn y llyfr eisoes yn "ddatguddiad newydd," ond i awgrymu fod Joe Smith yn dweyd iddo gael datguddiadau croes i'w gilydd, ac yna mai celwyddog yw'r oll a hona. Yn lle hyny wele chwi wedi cwympo eich hunan i'r ffos front a gloddiasoch i'r diniwed. Heblaw hyny gwelir eich celwydd, yn haeru nad oedd onid tri i weled y llafnau, drwy dystiolaeth unarddeg o lygaid-dystion y rhai a ddywedasant iddynt eu gweled, eu teimlo, &c., yr hyn oedd o flaen eich trwyn fyth ar y pryd yr haerasoch y fath gelwydd. Gwel *Hanes y Saint*, tudalen 36. Dywed Llyfr Mormon am y rhai a gaffent weled y llafnau:—"*Save it be a few according to the will of God*," sef, *ychydig*. Yr oedd raid fod ynoch rhyw ddigywilydddra digyffelyb, yn haeru eich ffregod o barthed i Martin Harris yn gweled y llafnau â llygaid ei ffydd drwy y brethyn du. &c., pan yr oedd tystiolaeth y dyn ei hun, yn hollol groes i hyny, o flaen eich llygaid. Yr wrthddadl nesaf a ddyfynodd o'i draethodau ffol yn erbyn Llyfr Mormon oedd, ei fod yn son am gyfnewidiad lliw yr Indiaid yn felyn; ac onid yw yr un resymeg yn condemnio y Beibl, am ei fod yn dweyd mai o'r un hiliogaeth o bobl wynion y tarddodd hyd y nod y Negroaid duaf, canys addefa beirniaid mai barn, neu nod Duw ar hiliogaeth Cain yw duwch eu crwyn; ac yma etto gwelir mai gwrthddadleuon deistaidd yw yr oll a ddug i'n herbyn braidd! Gwrthddadl arall yn erbyn llyfr Mormon yw, ebe ebe, fod "Alpha ac Omega" ynddo; ac felly gwada efe lyfr y datguddiad yn ol yr un resymeg, canys ceir yr un geiriau yno bedair gwaith! Yute a wada efe nad oedd ysgrifenwyr yr ysgrythyrau

dan ddylanwad Ysbryd Duw pan yn gosod y geiriau hyny yn y Testament Newydd: paham nad allai Joseph Smith fod dan ddylanwad yr un Ysbryd pan yn cyfieithu yr un geiriau yn yr un modd yn Llyfr Mormon? Gwrthddadl arall o'i eiddo yw, oherwydd fod Llyfr Mormon yn son am y fath beth a *compass*. ac yna bloeddiau yn fuddugoliaethus ac ymffrostgar iawn, am nad oedd y "*Mariners' Compass*" wedi cael ei ddarganfod am gannoedd o flynyddoedd wedi yr amser ag y cyfansoddwyd llyfr Mormon. Ond gan bwyll etto; twyll resymeg yw hyna hefyd. Nid oes y fath air a "*Mariners' Compass*" o fewn Llyfr Mormon, nac un math o gyfeiriad ato. Os oes, nodwch y tudalen a'r frawddeg; onide, byddled y llyfr yn dyst yn erbyn eich celwydd haeriadol, i bob un a'i darlleno. Dyma ffordd rwydd i brofi pwy yw'r twyllwr, Mr. Roberts; a safwch at eich haeriad; neu os dewiswch, anrhegwn chwi â'r llyfr, fel y galloch ein profi yn gelwyddog. Beth a fynwch yn decach na hyna? Onide peidiwch byth ond hyny a darlithio yn erbyn llyfr, cyn ei weled na deall beth yw. Eich gwaith chwi yw gosod i mewn y gair "*Mariners*" yna, neu waith y *Caswell* ddrygionus, yr hwn y dyfynasoch lawer o hono, ar hwn fel eich holl awduron ereill a wrthbrofwyd yn effeithiol, er eu gwarth hwy a chwithau, er's llawer dydd. Yr unig "*compass*" ag y sonia Llyfr Mormon am dano a ddesgrifir yn tudalen 37, yn y geiriau canlynol,—"*a round ball* [ni felly y *Mariners' Compass*?] pelen gron o wneuthuriad cywrain; ei defnydd oedd bres coeth. Oddifewn i'r *belen* yr oedd *dau spindle* (gwerthyd), cyfeiriai [illegible] o honynt *at y ffordd ag oeddym ni i'w theithio i'r anialwch.*" Oni welwch chwi, Syr, y gwahaniaeth mawr oedd rhwng y "*belen*" yna â'r *Mariners' Compass*? Deallaf fi wahaniaeth mawr rhyngddynt, ac yr wyf wedi dilyn cyfarwyddyd yr olaf am yn agos i ugain mlynedd [illegible] hyd holl foroedd y byd, braidd. Cyfeiria *compass* y morwr tua'r *gogledd* [illegible], ac nid oes *dau spindle* ynddo, ac nid *pelen* gron yw ychwaith. Yn tudalen 39, gwelir yn mhellach y gwahaniaeth oedd rhwng y "*belen*" a "*chompass y morwr*," canys ymddangosai ysgrifeniadau ar y "*pointers*" oedd yn y "*ball*," pa rai oedd yn ddealladwy i'w pherchenogion, ac yn gyfarwyddiadau iddynt ar eu taith yn ol eu heisiau, yn debyg fel yr ymddysglaeriai yr "Urim a'r Thumim" gynt; ac yr oedd y naill fel y llall o ran hyn yn gyferbyniol i'w gilydd; a phan wrthbrofwch chwi y naill, bydd y llall hefyd wedi ei wrthbrofi ar yr un egwyddor, a byddwch chwithau yn wrthfeihlydd uwch fyth y pryd hyny. Ond digon eisoes i brofi nad at y *Mariners' Compass* y cyfeiria Llyfr Mormon, fel y dywedwch chwi; ac hyd yma etto nid yw eich camgyhuddiadau yn llychwino dim ar lyfr Mormon mwy nac ar y Beibl cyssegr lân. Am yr arferiad o'r gair *compass*, ni ellir gwrthwynebu dim, canys gair sathredig yn y wlad yw, ac arferyd geiriau *annealladwy* fuasai yn profi yn hytrach nad oedd y cyfryw dan arweiniad Ysbryd Duw; canys dywedasech pe felly, a chyda mwy o gysondeb na'r wrthddadl hon, "Pa ddefnydd arferyd geiriau ansathredig? Cymellasai Ysbryd Duw i arferyd y geiriau mwyaf dealladwy ar y pryd, canys mae Duw yn ewyllysio i bawb ddeall a dyfod i wybodaeth o'r gwirionedd." Felly y dywedasech, onide? Ac yn awr pan y gwnaed felly, neidiwch chwithau i'r ochr arall i'r berth er mwyn clywed eich hun yn lleisio. Testun

poblogaidd yw y "Mormoniaid," druain, a "Joe Smith." i holl crotyn, o'r athraw ysgol hyd y "*Jacks*" fel eu gelwir, a'r *would be* Peirch, ddangos eu talentau a'u *impudence* drwy eu cymmeriu, eu herlid, a'u camgyhuddo. Ie, gorchestwaith amryell *golygion* penboeth, fel y Caswell hwnw, yw dringo i bwlpudau, a chyda rhwysg a phomp i ddangos eu dwlni eu hunain, eu gelyniaeth, a'u rhagfarn at y grefydd anwyl a broffesa eu cymmydogion, cyn ei chwilio erioed. Ond erioed o'r blaen ni chlywsom son fod y fath haerwr difesur â hwn yn byw rhwng mynyddoedd Cymru. Mae efe wedi maeddu hyd y nod ei dadmaeth o Gaersalem ei hun, ac yr oedd ei haerllugrwydd yntau yn ddiareb ac yn warth cyhoeddus. Yn awr, Mr. R. dymunwn i chwi wybod fod bechgyn ereill heblaw y chwi wedi bod yn y *North*, ac wedi bod yn y *South* yma yn hwy na chwychwi, yn dysgu *common sense*, a mwy fe allai o foneddigeiddrwydd. Ar ol teithio y byd, cawsant gyfleusdra i ddeall peth o'r natur ddynol, a'r fantais o fod yn *llygaid dystion* o'r pethau a gamddarluniwch chwi. Maent yn gwybod beth y maent yn ei gylch, ac y maent yn galw arnoch chwithau i naill ai i'w gadael yn llonydd, neu i wrthwynebu eu hegwyddorion yn deg fel creadur rhesymol, a chymmeryd yr ysgrythyrau yn rheol;—i wneyd hyn drwy'r argraffwasg, a chewch rai o fechgyn y North a driniant eu pynciau ochr yn ochr â chwi i'r eithafion a fynwch. Bydd hyn yn ffordd well i chwi ddangos eich hun nac yw blaggardio o'r pwlpudau. Yn nesaf, ebe y darlithiwr: "Gellir cynnwys hòniau y system dan dri o bennau; sef 1. Prophwydoliaeth; 2. Gwyrthiau; 3. *Witchcraft*." Sicrhai drachefn nad oedd yn cynnyg dim i'w wrandawwyr i brofi hyn ond "*facts*." Dywedai na phroffwydodd neb o'r Saint ddim gwirioneddol; ac ar yr un anadl addefodd ddarfod iddo glywed fod Joseph Smith wedi prophwydo am ei farwolaeth ei hun! Ac fe gyflawnwyd hòno hefyd, fel y rhagdraethodd o flaen miloedd, amser maith cyn hyny; a llawer o bethau ereill. Pa le y bu y boneddwr hwn yn chwilio am brophwydoliaethau Joseph Smith, wyddis? ai yn y *college*, yntau yn hanesion celwyddog ei elynion proffesedig, ynte a hòna efe hollwybodaeth etto? Am brophwydoliaeth y Martin Harris ag y soniodd, sef y "lleddid yr holl sectariaid yn yr America cyn pen 4 blynedd." Un o'i haeriadau disail ef yw. A phe buasai un dyn wedi dweyd y fath beth, ai engraifft deg fuasai hyny i gondemnio y grefydd a broffesa cynnifer o filoedd o bobl? Am y "gwyrthiau," awgrymai gyda *bombast* mawr, nad yw Duw yn gwneyd gwyrthiau yn un man drwy'r byd, oherwydd na welsai efe rai; ac wedi gosod ei wadiad ei hun yn sylfaen, haerai yn uchel—"celwydd i gyd yw eu proffes." "Haerant mai yn yr eglwys y gwneir gwyrthiau," ebe efe. Ond dywedwn ninnau mai yn y fan, ac ar yr amser ag yr ewyllysia yr *hwn yn unig* a all wneyd gwyrthiau, sef Duw, eu gwneir; boed hyny yn yr eglwys neu allan o honi. Mor ffol yw gofyn gan ddynion wneyd gweithredodd Duw yn unig, a hyny i foddio eu mhympwy hwy, pan ar yr un anadl yn gwrthod credu geiriau Duw! Meddyliodd y boneddwr hwn ei fod wedi gorchfygu yn deg drwy waeddi "pan fethant (wneyd gwyrthiau) beiant ffydd y dioddefydd." Wel druan; onid yw ffydd yn ofynol i hyny? A ellir gwneyd gwyrthiau o anfodd Duw? canys dywedir—"heb ffydd an-

mhosibl yw rhyngu bodd Duw." Ei enghraifft i brofi nad yw ffydd yn ofynol yw y "pysgodyn yn y môr." Ac yn ol ei resymeg ei hun cyfystyr yw *dynion* â *physgod!* Dyma iselhau creaduriaid rhesymol! Ai yr un ddeddf a roddwyd i'r naill ag i'r llall? Ai cyfystyr eu dyledswyddau? Ai yn ol yr un ddeddf eu bernir? Ie, ebe rhesymeg Mr. Roberts. Er profi ei bwnc, daeth ag ysgrythyr ag sydd yn ei chwilfriwio yn llwyr, sef "Ni wnaeth efe (sef Crist) nemawr wyrthiau yn y parthau hyny, oherwydd eu hangrediniaeth hwynt; ond yn unig gosod ei ddwylaw ar ychydig gleifion, a'u hiachau." Ac felly gwelir mai "*ychydig*" oedd eu ffydd hwynt; ynte, pe buasai ychwaneg o ffydd, buasai gwyrthiau mwy; ac felly y dywed y Saint. Gan i anghrediniaeth y rhai hyny i'r graddau ag yr oedd, rwystro gwyrthiau mwy, pa fodd y dysgwyliwch chwi, Syr, i'r Saint wneyd llawer, pan y mae eich anghrediniaeth chwi a'ch plaid yn fwy o lawer na y rhai hyny; canys gwadwch chwi y cwbl? Ond, "yn ol dy ffydd bydded i ti," oedd arwydd-air Iesu Grist a'i weision, ac yn ol dy *ddiffydd* bydded i tithau, ebe ninnau. Cyhoeddasom gymmaint o barthed i'r wrthddadl hon eisoes mewn atebiad i Mr. Davies, &c., fel na ychwanegir arni yma. Llafuriodd y Parch. yn ddiwyd iawn, ac mor llwyddianus a nemawr ddeist proffesedig, mai *witchcrafft* yw prophwydo. Ceisia brofi hyny drwy fod dynion yn gweled y "*blue Devils*," a bwganod o bob math. Rhoddodd Esboniad Syr W. Scott i'r un dyben, a hanes rhyw wallgofddyn yn y *Lunatic Asylum*, yr hwn a honai mai eiddo ef y palas mawr a'r cyfan oedd ynddo, a'i fod yn byw ar ddanteithion y wlad, pan na chaffai ond *porridge;* a chyfaddefodd fod blas blawd ceirch a dwfr ar bob peth. Soniodd lawer am ryw ddyn a'i gorn i arddangos twyll y clustiau hefyd, a haerai mai felly yn hollol y mae Mormoniaeth. Dyma wrthddadleuon yr Atheistiaid yn erbyn gwyrthiau a phrophwydoliaethau ag a ddesgrifir yn y gyfrol santaidd. Ac y maent yn gwrthdaro yn gyfystyr yn erbyn y rhai hyny ag yn erbyn Mormoniaeth. Haerai hefyd fod dynion yn ymddwyn fel yna pan yn eu synwyrau, ac felly Joe Smith, ebe efe; ac felly ei hunan, efallai! Gynau haerai na fu Joe Smith yn ei synwyrau erioed, ond mai "*gwallgofddyn*" oedd. Beth yw hyn ond *insultio* rhesymoldeb ei wrandawwyr!

Am y cenadau yn myned at yr Indiaid, ac yn colli y ffordd, a neb o'r Indiaid yn credu ar ol i Joe gael dadguddiad y gwnaent, &c. Gofynwn, pa fodd y gallent golli y ffordd o fewn deugain milldir, pan y mae Indiaid yn trigo trwy yr holl goedwig orllewinol am dros ddwy fil o filldiroedd o'u blaen? "Na chredodd un o'r Indiaid:" anwiredd amlwg yw hyny, canys gwelais luoedd wedi credu, ac y mae y ffaith o'u bod wedi amddiffyn bywyd y Saint wedi i'r Cristionogion eu halltudio i'r goedwig, ar ol llosgi eu tai uwch eu penau, a merthyru llawer o honynt, a phan oeddynt yn dilyn ar eu hol fel gwaedgwn;—y mae y ffaith o fod yr Indiaid anwaraidd wedi achub eu bywydau rhag cynddaredd pregethwyr erlidgar fel ein gelyn hwn, yr hwn sydd yn ceisio chwythu yr un fflam i'n llosgi ninnau ymo, yn profi mai anghywir yw ei stori am danynt.

Haera fod y Mormoniaid wedi prophwydo mai yn Missouri y buasai eu Jerusalem Newydd. Wel, prophwydodd Abraham mai yn ngwlad

Caanan y byddai ei gartrefle yntau. ac etto ni feddiannodd gymmaint â lled ei droed o honi cyn marw. Arosed ein herlidiwr cyhyd am gyflawniad prophwydoliaeth y Saint ag yr aroswyd am gyflawniad o addewid Duw i Abraham a'i had, onide y mae ei resymeg yn gwrthdaro yn erbyn y naill fel y llall. Ni haerodd y Saint erioed " y caffent lonydd a heddwch yn dragywydd yn Missouri,'' nac " yn Nauvoo ;'' naddo, canys hollol groes oedd eu crediniaeth a'u proffes ohyd. Twyll resymeg ein herlidwyr yw hyn oll hefyd. Lleoedd i ymgasglu dros yr amseroedd hyny yn unig oedd y sefydliadau hyn yn cael eu hystyried. Ac a all y Parch. hwn brophwydo, pa hyd y bydd hyd oni feddianna y Saint y lleoedd hyn etto? Wel, tawed â'i ffolineb hyd hyny. Amlwg yw, mai po erchyllaf y twyllwr, amlaf ac eofnaf y gwaedda "twyll" ar y gwir. Addefodd efe hyn ei hunan.

" Dywedai Joe (ebe efe) fod eglwys fawr ar lan afon Missouri, ond erbyn myned yno nid oedd yno ond pedair o ferched.'' Pa les fuasai dweyd hyny pe na buasai yno felly ? O dalaeth Ohio lle y trigai Mr. Smith, yr oedd cannoedd, ïe, rai miloedd wedi ymfudo i Missouri, pan y dywedodd efe hyny. Mae yn ffaith nodedig ddarfod i'w gelynion alltudio tua 15,000 o Saint o Missouri, yn fuan wedi eu hymfudiad yno ; a pha fodd y gwnaent hyny os nad oedd yno ond pedair o ferched ? Dyma bedair o ferched rhyfedd, onide, wedi lluosogi i 15,000 mewn tua blwyddyn ; canys dywedant nad oedd pobl Missouri yn troi at y Saint ! Dyma enghraifft o "*facts*" y Parchedig hwn ! Wedi adolygu prif gamgyhuddiadau yr areithydd mor fanwl, yn nesaf sylwer mor ddiwyd, campus, a llwyddiannus y mae efe yn tynu ei gastell yn ddarnau am ei ben, ac yn ei gladdu ei hun yn y garnedd. Wedi llafurio yn galed drwy chwys a lludded am tuag awr a hanner, i dduo cymmeriad J. Smith, a sêlio ei holl hanes yn gyfan ar dystiolaeth ei elynion proffesedig, yr hyn sydd hollol aunheg ac annioddefol yn ngolwg dynion rhesymol,—wedi dyfynu o hanes ei elynion hefyd, cofier, pa rai a sicrhai efe eu bod yn wirionedd, mai Joe Smith oedd awdwr Llyfr Mormon, mai efe â'i cyfieithiodd tra yn edrych drwy *beepstone*, ai ben mewn het ;—wedi dyfynu tystiolaeth y Mr. Hale hwnw, yr hwn er ei fod yn elyn fyth, a addefodd ei fod ef â'i lygaid wedi gweled y *box*, yr hwn a gynnwysai y llafnau ; ei fod ef wedi bod am ysbaid yn ei dy ef ; ai fod ef (sef y gelyn hwn cofier) wedi *teimlo* eu *pwysau* â'i ddwylaw. Sylwer ar yr addefiad hwn. Diolchwn iddo am brofi geirwiredd y Mr. Hale hwn, canys tyst o blaid J. Smith yw. Sicrhâodd mai Joseph Smith oedd awdwr Llyfr Mormon hefyd, drwy ddweyd fod 116 o dudalenau o hono wedi colli, a thrwy hyny addef eu bodoldeb. Addefodd hefyd mai ysgrif a ysgrifenasai Martin Harris, o enau Joe Smith (sef y "*gwallgofddyn*" hwnw) oedd, tra yn cyfieithu y llafnau o'r tu arall i *flanket*. Profodd mor ddiwrthbrawf drachefn (meddai efe) mai Oliver Cowdery a Martin Harris a gyfieithasant Lyfr Mormon trwy bapyrau, wedi haeru fod y Llyfr Mormon ei hun, drwy ei fod yn gelwydd i gyd, heb un frawddeg yn wirionedd nac yn rammadegol drwyddo oll, a sicrhau fod dwlni a chroes haeriadau y llyfr yn ei brofi rhy ddwl i neb arall fod wedi ei wneyd ond hurtyn neu wallgofddyn fel Joe Smith : ie, sylwer, wedi i'r areithydd campus hwn, ddwyn lluoedd o dystion geirwir, duwiol, a diwrthbrawf o *foneddigion*, peirch, a goreuon y wlad hono, i sicrhau a gwirio yr holl

bethau uchod; ac, O, fel yr oedd ei wrandawwyr yn eu llyncu i lawr fel hufen, gan lyfu eu gwefusau, a'u sêlio oll, a'u *clenchio* drwy guro eu traed a'u dwylaw o gymmeradwyaeth, a chan arwyddo fod eu *champion* wedi profi pob gosodiad yn deg a diwrthbrawf, nes y gallesid meddwl fod yr areithydd wedi gorphen ei waith, ac fod pawb yn credu mai dyna oedd tarddiad, a hanes cywir Llyfr Mormon, a meddyliasid wrth sel ac aml wiriad y Parchedig o'r tystion a'u hanes ei fod ef ei hun yn credu mai Joe Smith, yn y dull a sicrhâodd ei elynion oedd gwir awdwr Llyfr Mormon. Ond er ein syndod mawr, a phan yr oeddym yn llawen ddysgwyl ei fod am ein gollwng bellach o'r fath garchar i anadlu awyr iach, gwelem y Parchedig yn ymsythu yn ei bwlpud, ac wedi i'r dadwrdd ddystewi, â chymmaint o eofndra a llawn mor haerllug, dechreuodd yr un darlithydd, o'r un pwlpud, ie, ac uwchben yr un dyrfa, yn yr un ddarlith, ac o'r un genau meddwn; dechreuodd wadu yr holl hanes blaenorol am darddiad Llyfr Mormon, a pharhaodd i haeru nes dwyn llu o dystion mor "*eirwir*," a "*diwrthbrawf*" â'r lleill, a llawn *mor dduwiol*, ebe efe, er profi pob gair a phob sill o'r hanes blaenorol yn gelwyddog! Ni adawodd un gareg o'i adeilad heb ei thaflu i lawr. Clyw ddarllenydd ei eiriau ef ei hun! "*Nage, nage*, (ebe yr un dyn!) *nid Joe Smith a wnaeth Lyfr Mormon.*" Wel, paham y dygasoch gynnifer o dystiolaethau mor "eirwir," ac mor "*ddiwrthbrawf*" o eiddo ei elynion ef, i brofi mai Joe a'i gwnaeth? A dyma chwi eich hun yn awr yn eu *gwrthbrofi* oll er mor "*ddiwrthbrawf*" y dywedasoch eu bod. Wel, sylwer pwy ynte y dywed ef yn nesaf yw awdwr Llyfr Mormon. "Y gwir yw, [ebe Mr. R., ie, addefa mai celwydd oedd yr hanes uchod, ond, y ceir y gwir *yn awr!*] yr oedd Joe yn rhy ddwl i wneyd y fath lyfr." Ac yna haerodd mor bendant fod y llyfr hwnw a ddesgrifiai gyneu heb air o wirionedd, na brawddeg 'rammadegol ynddo; fod y llyfr hwnw oedd rhy ddwl i neb ond gwallgofddyn fel Joe Smith fod wedi ei wneuthur, &c., ie, haerodd fod y llyfr hwnw mor drefnus, yn dangos y fath ddysgeidiaeth a doethineb, &c., "ac yn arogli gymmaint o'r *classics*," fel yr oedd y llyfr ei hun yn awr yn profi mai rhyw *glassical scholar* medrus iawn, yr hwn a ddygesid i fyny yn Athrofa *Dartmouth*, a'r hwn oedd yn weinidog duwiol a medrus gyda y Presbyteriaid o'r enw Solomon Spaulding, oedd awdwr Llyfr Mormon. Do; gwiriodd hyn oll mor "*ddiwrthbrawf*" â'r hanes arall, yr hwn sydd yn hollol groes iddo o'i sylfaen i fyny. Wel, beth a wnawn yn awr, Mr. R.? Yr ydych wedi profi gormod o lawer! Dyma chwi wedi gosod eich holl dystion yn ddwy fintai ardderchog, wyneb yn wyneb ben yn mhen, trwyn yn erbyn trwyn, a dant am ddant a'u gilydd; a dyma chwithau eich hun, Syr, yn y canol rhwng y ddwy fyddin "*barchus* a *duwiol*," yn *full view* fel Joab gynt rhyng dau gorn yr allor, neu fel Absalom yn ngrog gerfydd ei wallt wrth frig y dderwen rhwng nefoedd a daear. Wel, beth a wnaiff yn awr? ai gwadu yr hanes blaenorol am awdwr Llyfr Mormon, tybied, a stico wrth y rhai olaf hyn? O na, y mae ei dystion cyntaf oll yn "eirwir," ebe efe, ac wedi eu sicrhau rhy gadarn iddo ef ei hun eu gwadu! Ie, tystion "*duwiol*" a "*diwrthbrawf*" ydynt oll, ebe efe. Ac etto, gwiria efe yr hanes olaf mor *ddiwrthbrawf* a chywir ag yntau, ie, "y mae tystiolaeth 'gywir' gweddw *dduwiol*, a merch *dduwiol*, y Parchedig *santaidd*, Mr. Spaulding, ar lw, yr hyn a wirir yn gadarnach fyth gan y Parchedig Mr. Storrs, a'r Parchedig Mr. Awstin, &c., yn

sicrhau nad Joe Smith, ond mai Mr. Spaulding oedd gwir awdwr Llyfr Mormon!" Yn enw rheswm, Mr. R. dywedwch i ni pwy yw awdwr y llyfr, canys anmhosibl i'r ddau fod yn awduron iddo! Wel, gosoder y ddwy fintai o'i dystion "*geirwir*" a "*duwiol*" o flaen y *bar*, a gosoder Mr. R. ei hun i'w croesholi. Pwy meddwch chwi oll ar yr aswy yna, foneddigion parchus, yw awdwr Llyfr Mormon? Atebant,—"Tystiwn ni oll mai Joe Smith a gymmerodd arno ei gyfieithu oddiar ryw lafnau, ac mai Martin Harris oedd ei ysgrifenydd." O'r goreu foneddigion; rhaid fod eich tystiolaeth chwi yn wir, canys "yr oeddych chwi oll yn adnabyddus â'r holl *barticulars;* yn byw yn y fan ar y pryd; heblaw fod eich cymmeriadau yn uchel am wladgarwyr mawr, a charwyr y gwir." O'r goreu; ond, pwy meddwch chwi, y "weddw dduwiol, a'i mherch ar lw," oedd awdwr yr un llyfr? canys dylech chwithau fod yn gwybod cryn sicrwydd o'r peth, cyn y rhoddoch eich enwau ar lw o flaen y cyhoedd i'w sicrhau, heblaw fod eich perthynas yn fanteisiol iawn. Coeliaf fi chwithau hefyd, ebe Mr. R. dywedwch chwi a fynoch, ond i chwi fod siwr o dystio rhywbeth yn erbyn y Mormoniaid. Ateba y rhai hyn ar lw cofier, mai Solomon Spaulding a ysgrifenodd Lyfr Mormon! Yn awr, Mr. R. darllenwch bennod o lyfr Esther, a darlunir yno ryw "*Haman*" yn yr un sefyllfa a'ch hunan, a'r Mormoniaid druain wedi eu rhyddhau oddiwrth eich dedryd chwi, fel y gwaredwyd yr Iuddewon hyny rhagddo yntau. Ond yn gyntaf aroswch i'r treial hwn ddarfod. Y mae cwestiwn neu ddau etto er lliwio y drych yn ddysglaer, a harddu y crogbren i chwi. Yn mha fan meddwch chwi, y tystion duwiol yna ar yr aswy, yr ysgrifenwyd Llyfr Mormon? O, tystiwn ni, rai o honom, mai yn Manchester, ereill yn Palmyra, y cwr gorllewinol o dalaeth Caerefrog Newydd, ac ereill o honom, mai yn swydd Susquehana, talaeth o Pensylvania, y cyfansoddwyd ef. Ond cydsyniwn oll am y dull, sef drwy offerynoliaeth "*peepstone*," y "*blanket*," a'r "het," &c.; ie, bid siwr, nad amheuir tystiolaeth Mr. Hale barchus am hyn, a Mr. P. Ingersoll, &c. Ond yn mha le meddwch chwi ar y ddehau yna, yr ysgrifenwyd y llyfr? Ateb: Yn New Salem, talaeth Massachusetts y gwnaed ef, meddwn ni ar lw. Cwestiwn. A ydych chwi y Parch. Mr. Storrs yn siwr o hyny? Ateb. Gwir bob gair, a diwrthbrawf, ebe y Parch. hwn. Y Parch. Mr. Austin dduwiolfrydig a geirwir, a sicrhewch chwithau y llw cyfeiriedig mai yn New Salem yr ysgrifenwyd y llyfr? O gwnaf, ebe yntau, a sicrhâ hyd y nod y Parch. duwiolach etto, sef John, brawd y diweddar Solomon Spaulding, ynghyd â holl bobl *dduwiolaf New Salem*, mai yno yr ysgrifenwyd y llyfr. Yn awr Mr. R. dyma chwi yn windio eich hun i fyny i'r crogbren; ond, un cwestiwn etto, os gwelwch yn dda, cyn esgyn; sef. Beth yw y pellder rhwng y manau uchod a New Salem? Ateba pawb, oddeutu mil o filltiroedd. Ond aroswch fynyd etto, Syr, anghofiasoch groes-holi eich tystion am un peth pwysig etto, sef, *amseryddiad* yr hanes. Chwi ar yr aswy yna, yn mha flwyddyn y cyfansoddwyd Llyfr Mormon? Ateb. Yn y flwyddyn 1827, neu 1830. Or goreu, ai gwir hyna? O! ie, bob gair. Pa flwyddyn meddwch chwi, y weddw, y Peirch. &c., a r y dehau yna yr ysgrifenwyd cynnwysiad y llyfr? Ateb, (ar lw fyth, cofier). Yn neu cyn y flwyddyn 1812. Wel, wel! dyma dystion fel pe buasent ar lw i groesi eu gilydd yn bwrpasol. Pa rai yw y mwyaf

"*diwrthbrawf*" Mr. R.? Beth a wnewch o honynt? beth a wnewch â'ch hunan? Yn awr galwch ar y lloneid *seat* fawr o'r Peirch. dysgiedig oedd odditan eich pwlpud, yn gwrando yn felys ar y fath gelwyddau, dan chwerthin yn wawdus. Galwch arnynt hwy i ddadgylymu y rhaff a roisoch am eich gwddf. Yr ydych wedi tynu y cylymau yn rhy dyn iddynt hwythau eu datod â'u hewinedd. Onid ydych yn dechreu glasu bellach,—yr erlidiwr haerllug? A wnewch chwi ufyddhau i'ch dysgeidiaeth eich hun yn awr, Syr; sef, "rhoddi i fyny yn foneddig pan wedi cael eich curo?" Dyma le i'ch profi. Ond cofiwch, mai concro eich hun yr ydych; canys rhyngoch chwi a'ch tystion eich hun y mae y treial hwn. Nid oes i'r "Mormoniad" ddim i'w wneyd ag ef. Dywedasoch gyneu mai creaduriaid y mwd yw y Saint; ond pwy yn awr a welir yn y mwd at gorn ei wddf! Ie, pa sawl un sydd o honoch? Ie, pwy yw "creaduriaid y mwd" debygech chwi eich hun, Syr? Mae ein traed ni ar graig y gwirionedd, a chwithau yn suddo yn ddyfnach i'r mwd bob pwnc. A fynwch chwi help llaw, foneddigion, i ddod allan o'r mwd yna? ynte, a ydych chwi yn gymmaint o greaduriaid y "mwd," fel mai gwell genych suddo yn ddyfnach iddo? Coffâ eich cyflwr a'ch ymddygiad fi am ystori y teithiwr yn myned hyd lan afon fawr a chorsog; gwelodd het o'i flaen ar lawr, ac wedi ei chipio i fyny, wele ben dyn odditani; cydiodd yn ei wallt nerth ei fraich, gan feddwl ei godi i'r lan ac achub ei fywyd, ond gwaeddodd y truan yn groch, "peidiwch, peidiwch, (ebe efe) canys y mae genyf geffyl da odditanaf, a phar o fotasau newydd am fy nhraed, gwell genyf suddo gyda hwynt na'u colli." Ac, a'i tybied y gwell genych chwithau *foneddigion* golli eich bywyd gyda eich *crefft* a'ch elw, a'ch anrhydedd, trwy wingo yn erbyn cenadwri bwysig y nef atoch? Gwelwch nad oes bosibl i chwi ddyfod o'r *mwd* brwnt ag yr arweiniodd eich *champion* chwi iddo, ond drwy wadu y naill lu o dystion neu y llall; ac ni ellwch wneyd hyny mwyach heb addef eich hunain yn gelwyddog. Ai tybied yr ystyriwch y bu Joe Smith mor "wallgof" erioed â neidio i'r fath fwd â hyna, nac o windio ei hun i ben crogbren fel y gwnewch chwi? O na, gwell prawf yw ffeithiau fel hyn i brofi pwy yw yr "*idiots.*" Ai gormod yw dweyd fod y dyn hwnw yn "*wallgofddyn*" a haera fod dwy blaid o dystion mor groeshaeriadol anghymodol â'r rhai uchod, oll yn wirionedd? Eithafion gwallgofrwydd fyddai credu y fath beth; ac ni all fod haeru y fath beth yn amgen na ffrwyth meddwl a chalon gwallgofddyn, a dweyd y goreu am dano. Ac ni ellir eu cymmodi â'r gwir, hyd oni chymmodir gwir a chelwydd â'u gilydd, a thywyllwch â goleuni; hyd oni phrofir mai yr un yw Joe Smith â Solomon Spaulding, hyd oni symudant dref fawr New Salem tua mil o filltiroedd at y manau ereill a nodwyd; hyd oni phrofant mai yr un amser yw 1812 âg 1827, neu 1830. Gwaith go fawr yw hyn iddynt; ac wedi ei gyflawni, bydd y gwadwyr gwyrthiau hyn wedi gwneyd gwyrthiau mawr eu hunain; ac nid oes lai na gwyrthiau a ddichon eu tynu hwynt o'r mwd hwn, a golchi eu bryntni ymaith. Wel, medd y darllenydd, pa un o'r ddau hanes am Lyfr Mormon sydd wir, canys anmhosibl fod y ddau uchod yn wir? Atebwn mai gwaith priodol Mr. R. yw ateb hyna; ac wedi y concro y naill y llall o'i ddwy fyddin groeshaeriadol ef, yna profwn mai tystion

celwyddog yw y concwerwyr. Tra b'ont hwy oll yn soakio yn y mwd yna, a Mr. R. gyda hwynt, dangoswn ninnau beth o ddichellion dryg-ionus, ac anwireddus, a *forgeries* ei dystion olaf, a'i 50 o foneddigion, &c., fel y gweler fath cwmpni a hoffa ein herlidwyr hyn.

HANES Y "SPAULDING ROMANCE," NEU Y "MANUSCRIPT FOUND."

Un o'r prif-wrthddadleuon a gynnygir yn erbyn geirwiredd "*Llyfr Mormon*" yw y "*Spaulding story*;" a chan ein bod yn feddiannol ar ddefnyddiau digonol, i brofi nad oes ynddi oll gymmaint ag un drych-feddwl na haeriad gwirioneddol, cyn belled ag yr hònir fod iddi un cyssylltiad â Llyfr Mormon, ystyria yn ddyledus arnom ddidwyllo ein cydwladwyr o barthed iddi, a'r camgyhuddiadau niweidiol a seilir arni gan awduron, darlithwyr, &c., yn ein gwlad.

Dyweda yr ystori gyfeiriedig, fod y rhan hanesyddol o Lyfr Mormon wedi cael ei ysgrifenu gan y Parch. Solomon Spaulding, dan yr enw "*Manuscript found*;" ac wedi marwolaeth yr awdwr, fod yr ysgrif wedi disgyn mewn rhyw ddull anhysbys i feddiant un Sidney Rigdon, yr hwn a ychwanegodd y rhan grefyddol o hono; a'r hyn yn awr a gyfansodda yr hyn a enwir yn Llyfr Mormon. Er cywirio hyn dygir yn mlaen dystiolaeth gweddw Mr. Spaulding. Aaron Wright, Henry Lake, John Spaulding, Mr. Austin, Mr. Storrs, ac ereill. Cyhoedd-wyd y pethau hyn gyntaf mewn traethawd o'r enw "*Mormonism Unveiled*," gan E. D. Howe, Painsville, talaeth Ohio, America. Ond, awdwr gwreiddiol y llyfr oedd D. P. Hulbert. Ac er deall yr hanes yn eglur, buddiol yw rhoddi ychydig o hanes y gwr hwn a'i gymmeriad. Mewn gwrthbrofiad i'w gyhuddiadau gwarthus cyhoeddodd un Mr. B. Winchester yr hyn a ganlyn; ïe, cyhoeddodd hyn yn y fan hòno ar y pryd, ac ni cheisiodd neb ei wrthbrofi byth. "Daethym yn adnabyddus â Mr. Hulbert yn James' town, talaeth Caerefrog Newydd. Yr oëdd efe wedi bod yn bregethwr cynnorthwyol gyda y Wesleyaid, ond wedi cael ei ysgymuno am odineb. Yn mhen ysbaid wedy'n ymunodd â'r Saint, aeth i Kirtland yn Ohio, lle, yn mhen amser y galwyd ef yn bregethwr, a bu yn pregethu yn llwyddiannus am ysbaid yn Pensylvania; ond syrthiodd i bechodau gwarthus, megys godineb, &c., ac ysgymunwyd ef gan y gynnadledd; a hwy a gymmerasant ei *license* oddiarno. Ymddangosodd yn wargaled ac annedifeiriol ar y dechreu, ac yna efe a gyfnewidiodd yn ymddang-hosiadol, gan broffesu mawr dristwch, a llawer o addunedau da os caffai ddod yn ol i'r eglwys, ond ofnid ei dderbyn i mewn yno, heb ganiatad y prif-gynnadledd. Etto ar ei edifeirwch a'i addunedau teg, goddefwyd iddo aelodaeth o'r diwedd yn Kirtland. Ar ei ddychwel-iad oddiyno, ymosododd ar un o ferched Mr. Thomson, o swydd *Geauga, Ohio*; gan geisio ei threisio, a daliwyd ef yn y cyflawniad o'r weithred ysgeler. Gollyngwyd ef ar ammodau; ac ysgymunwyd ef o'r eglwys am byth oherwydd hyn. Pan welodd Hulbert ei fod wedi andwyo ei hun yn ngholwg y Saint a'i gydnabod, ymosododd ar y gwaith o ymddial ar Joseph Smith. &c. Aeth oddiamgylch y wlad i ddarlithio yn erbyn blaenoriaid y Saint, gan draethu pob camgyhudd-iadau yn erbyn cymmeriad Joseph Smith a'i deulu, gan dynu i lawr

hyd ei allu yr hyn a adeiladasai gynt. Tra yr oedd Hulbert gyda y Saint cybyddid ef gan bregethwyr, crefyddwyr, &c., a'i gydnabod, am y dyn gwaethaf yn y wlad; beient y Saint yn fawr am adael i'r fath ddyn le yn eu plith, ai fod yn rhwystr i ereill ddod yn mlaen, &c., ond pan y trodd yr un Hulbert yn erbyn y Saint, agorai drysau capeli a thai o'i flaen, a heidiai yr un pregethwyr a chrefyddwyr yn lluoedd i'w wrando, a llyncent ei gelwyddau dyfeisiol, heb air o wir ynddynt, yn awyddus iawn a melys: ïe, mor awyddus â'u penau yn agored, ag y dysgwyliai yr ysgrifenyddion gynt am i Pilate arwyddo dedryd Mab Duw. Yn lle drygu Mormoniaeth fel hyn, gwelodd Hulbert mai ei chynnyddu yr oedd yn rhyfeddol, drwy alw sylw dynion meddylgar i'w chwilio, a chan fod ei *stock* o gelwyddau yn suro drwy eu hail-adrodd o hyd, penderfynodd ddyfeisio rhyw ddichell arall i wrthryfela yn fwy llwyddiannus yn erbyn y Saint. Pryd hyn daeth yn adnabyddus a dyn o'r enw Mr. Jackson, ac ereill, yn Nhrefedigaeth Jackson, Pa, y rhai oeddynt yn adnabyddus bersonol â dyn o'r enw Solomon Spaulding, yr hwn er's llawer o flynyddau cyn hyn a ysgrifenasai yr "ysgrif" gyfeiriedig. Dyma y gair cyntaf a glywsai Hulbert am enw Mr. Spaulding na'i ysgrif ychwaith. Nid oedd neb o'r bobl hyn erioed wedi meddwl fod un tebygolrwydd, llawer llai cyssylltiad, rhwng yr ysgrif hòno â Llyfr Mormon. Wedi hyn yr hatchiodd Hulbert y ddyfais annuwiol, "mai o'r ysgrif y tarddodd Llyfr Mormon;" a phan ddychwelodd yma wedi llunio ei ystori, gan geisio gan Mr. Jackson ac ereill, pa rai oeddynt wedi darllen yr ysgrif, ac wedi darllen Llyfr Mormon, law-arwyddo y *tebygolrwydd*, mai o'r ysgrif y gwnaed Llyfr Mormon, hwy a'i ffieiddiasant yn fawr; a chan ei annog i ennill ei fara drwy ffordd onest yn hytrach na chynllunio ystori ddisail i dwyllo ei gyd-ddynion, gyrasant ef ymaith. Tystia y bobl hyn i'r peth hyn, yn enwedig Mr. Jackson, yr hwn oedd wedi darllen yr ysgrif a Llyfr Mormon. Ac wrth geisio perswadio Hulbert i adael ei ddyfais warthus a ddywedai, nad oedd dim tebygolrwydd rhwng y ddau lyfr. "Ac," ebe efe, "traethodyn bach iawn oedd un Mr. Spaulding, ar ddull *novel*. Nid oedd yn son gair am, nac yn cyfeirio at blant Israel; ond proffesai roddi hanes rhyw genedl a ddaethent o Rufain; yr hyn a broffesai Mr. Spaulding fod wedi gyfieithu o *Latin parchment* a ddarganfyddodd. Ond am Lyfr Mormon, (ebe efe), proffesa fod wedi cael ei ysgrifenu gan un o lwythau Israel, ac ar briod-ddull hollol wahanol i'r llall." Dyma dystiolaeth un o'r dynion uchaf ei gymmeriad yn y swydd hóno. A gommeddodd Mr. Jackson ei enw i Hulbert wrth y fath ddyfais warthus. Etto cymmaint oedd casineb Hulbert at y gwirionedd, ei awydd i rwystro pobl ei gredu, a chan feddwl yr ennillai ychydig ddollars oddiwrth hyn, ni chollai y cyfleustra hwn i geisio profi mai y *novel* hòno oedd gwreiddyn Llyfr Mormon. Wedi methu a llwyddo yn y parth hwnw, aeth i Kirtland, a chyhoeddodd gyfarfod, a gwahoddodd bawb oedd yn anghredu "Mormoniaeth" i'w gynnorthwyo ef "i'w rhoddi i lawr yn llwyr ac am byth." Cafodd lawer o bleidwyr rhwng pregethwyr, proffeswyr rhagfarnllyd, a phawb a gasaent y Saint oherwydd eu crefydd; ffurfiasant eu hunain yn gommittee i gynnorthwyo Hulbert yn erbyn Mormoniaeth, dan yr enw Gwrth-Formoniaid. Hysbysodd Hulbert

iddynt ddarfod iddo glywed yn Pensylvania fod rhyw S. Spaulding wedi ysgrifenu *novel*, ac y gellid dangos *tebygolrwydd* fod S. Rigdon wedi ei gael, ai alw yn "Llyfr Mormon." Dywedodd ei fod ef ar fedr ysgrifenu Llyfr i'r dyben hyny, ac i wrthwynebu Mormoniaeth yn mhob dull arall a allai, os cynnorthwyent hwy ef ag arian i hyny. Mawr y llawenydd a achosodd y newyddion da hyn i'w gommittee, ac ereill o'r un chwaeth; penderfynasant yn unfrydol i'w osod ar y gwaith gyda brys mawr. Anrhegodd un pregethwr gyda y Campbelliaid, o'r enw Newel (mobocrat nodedig) ef â 300 o ddollars, er mwyn cyhoeddi y Llyfr; enw yr hwn oedd i fod "*Mormonism Unveiled;*" ereill o honynt a gyfranasant i'r un perwyl. Galluogodd hyn Hulbert i gychwyn yn gyflym ar gefn ei geffyl; ar fan gyntaf ag yr anelodd ato oedd New Salem, (y fan lle y trigai Mr. S. pan ysgrifenodd ei "ysgrif"). Wedi cyrhaedd, galwodd amryw ynghyd o'r rhai oedd yn elyniaethus at y Saint, hysbysodd iddynt ei fwriad i geisio profi mai o'r "Ysgrif" y tarddodd Llyfr Mormon; ac nid oedd neb yno, ïe, hyd y nod yn y fan lle yr ysgrifenwyd yr Ysgrif, unwaith wedi meddwl am y fath ddichell, na son fod un tebygolrwydd rhyngddynt: ond yr oedd ei ddyfais ef yn hollol newydd iddynt oll; er hyny boddiodd y mwyrif, pa rai a gyfranasant arian iddo, ac â'i hannogasant ef i fyned at weddw Spaulding, (yn awr Mrs. Davieson,) yr hon oedd yn byw yn *Monson, Massachusetts*. Yr oedd y Saint wedi bod yn pregethu ac yn bedyddio llawer oddeutu New Salem, er's amser, ac yn cynnyddu yn wastadol, ac er fod y "bugeiliaid" pleidiol wedi cynddeiriogi i'w herbyn, oherwydd eu bod yn colli eu deiliaid, ac fod gobaith eu helw yn pallu; er eu bod eisoes wedi manwl chwilio am bob defnyddiau ac ystoriau i geisio eu gwrthwynebu, etto nid oedd neb o honynt erioed wedi meddwl fod un cyssylltiad rhwng, na thebygolrwydd rhwng yr "ysgrif" â Llyfr Mormon; ac er mai dyna y fan lle y dywedir i'r ysgrif gael ei chyfansoddi. Ond i ddychwelyd at yr hanes.

Wedi i H. gyrhaedd Monson, rhoddodd Mrs. Davieson yr Ysgrif gyfeiriedig yn ei law (yr hyn a wada H. ei hun yn ei draethawd, sef "*Mormonism Unveiled.*") Hysbysodd hi ef hefyd fod cist ganddi yn nhalaeth Caerefrog, yr hon a gynnwysai ysgrifeniadau ereill, pa rai a allai gael os ewyllysai. Ar ei ffordd yn ol galwodd H. drwy Palmyra, C. N., (yn agos i gartrefle J. Smith, pan gafodd yr oraclau), yno casglodd yr oll a allai gael o enwau dynion gelyniaethus i'r Saint, o dan restr o'r cyhuddiadau gwaethaf a allai un mab i Belial ddyfeisio, yn duo cymmeriad J. Smith a'i deulu. Ychwanegodd ati wedy'n lawer o enwau a theitlau uchel, er mwyn rhoi lliw o wirionedd ar ei gelwyddau, canys credai y derbynid hwynt yn well pan wedi eu cefnogi gan *D. D's. Revd's*, ac *A. M's.*, &c. Dyma darddiad gwreiddiol yr ystoriau "o fod J. Smith wedi bod yn cloddio yn y ddaear am arian," "ei fod yn "*ffortuneteller*," "meddwyn," "lleidr," "teulu anmharchus," "digymmeriad," &c., &c. Ie, dyma'r *gang* ar ba rai y tadogir yr ystoriau gwarthus a gyhoeddir ac a ddarlithir yn ei erbyn drwy'r byd hyd heddyw! Ond ystyria pawb o'u cydnabod fod drygair pobl fel y rhai hyn yn gymmeradwyaeth i J. Smith, canys profa nad oedd yn cydsynied â'u ffyrdd drygionus ac annuwiol hwynt.

Yn ei ymddyddan â Mrs. Davieson, deallodd H. fod Mr. Spaulding

wedi ymfudaw o New Salem i Pittsburgh, yn y flwyddyn 1812; ac oddiyno yn fuan i dref Amity, Pa., a'i fod wedi marw yn 1816. Meddyliodd yr helpiai hyn y peth yn mlaen yn rhagorol; a chyn gynted ag y dychwelodd i New Salem, annogodd ei gydfradwyr ef i fyned i Pittsburgh i chwilio a adawsai Mr. S. ei ysgrif yn fenthyciol yno. Ei unig ddyben yn hyn oll oedd ceisio gan y cyhoedd gredu mai S. Rigdon oedd awdwr Llyfr Mormon. Ac fel y gwna pob celwyddwr pan fyna ormesu ei gelwydd ar y cyhoedd, felly hwn; canys gwyddai fod S. Rigdon wedi bod yn Pittsburgh cyn y pryd hwn, ac yna ceisia wneyd allan fod S. Rigdon wedi gweled ysgrif Mr. S. yno. Wedi hyn dychwelodd H. i Kirtland i chwilio am ychwaneg o ddefnyddiau, ac i gyfansoddi ei lyfr; a thra yma ceisiodd fwrdro Joseph Smith. Ond drwy drugaredd daliwyd ef yn ei ddichell lofruddiog cyn llwyddo, ac wedi arholiad cafwyd ef yn euog o geisio ei ladd, a gorfuwyd ef i roddi meichiau o 500 o ddollars i gadw heddwch. Yma ychwanegodd enwau ei brif gefnogwyr at y rhestr a gafodd yn Palmyra, i dduo cymmeriad J. Smith. Ond cyn hir, dangosodd ei hun yn ei liw priodol, drwy gyflawni ei hen gastiau pechadurus, a gorfodwyd ef i ffoi rhag cyfreithiau y wlad. Pan welodd ei gefnogwyr mwyaf selog, a'r rhai oeddynt fwyaf awyddus am i'r llyfr ddod i'r maes, fod cymmeriad H. wedi ei andwyo am byth yn ngolwg ei holl gydnabod, annogasant ef i werthu ei ysgrif i ddyn o'r enw E. D. Howe, Painsville, rhag ofn na phrynid ef gan neb a adwaenai H.; ac felly, nid yn unig colledid hwy, ond ni chaffent y pleser o erlid ac ymddial ar "Formoniaeth" a'i blaenoriaid. Prynodd Howe ysgrif Hulbert am 500 o ddollars; felly daeth y llyfr brwnt a chelwyddog hwnw, sef "*Mormonism unveiled*," yn llysfab i'r Howe hwn, yr hwn oedd yn elyniaethus iawn i'r Saint, oherwydd fod ei wraig, a'i chwaer, ac ereill o'i berthynasau, wedi ymuno â'r Saint. Aeth Hulbert gyda'i "gyflog anghyfiawnder," ac a brynodd dyddyn yn swydd Erie, Pa.; a phriododd wraig, ac yn fuan trôodd allan yn feddwyn mwyaf dibarch yn y wlad; gwariodd ei holl eiddo, nes dwyn ei hun yn gardotyn, ïe, a gwaeth na hyny, canys cymmerodd i fyny y grefft o ladrata am fywoliaeth; a phan ddaliwyd ef yn lladrata chain oddiar gymydog, diangodd o'r wlad, rhag cael lletty yn y carchar, a dyna y diweddaf a glywais o'i hanes. Manylais ar hanes yr Hulbert hwn, fel yr adnabyddo y cyhoedd awdwr, dyfeisiwr cyntaf, a chenedlwr celwyddog y "*Spaulding story*" am darddiad Llyfr Mormon. Ac fel y deallo y cyhoedd yn nghylch sail ac awdurdod yr ystori hon, ynghyd â'i hawdwr a'i chefnogwyr, pa rai a alwa pregethwyr, awduron, a darlithwyr, yn "foneddigion parchus." Ystyrid y tystion hyn yn elynion proffesedig, cyflogedig, a digoel, yn mhlith eu cydnabod. Profa hyn fod y rhai a draethant yr ystori ar eu hol o dan arweiniad yr un ysbryd, yn weision i'r un meistr, ac yn yr un gorchwyl â'r rhai sy'n caru celwydd yn hytrach na'r gwir. Pa ddyn a geir mor dda mewn un wlad, a'r na ellir cael digon o'r fath ddynion â'r rhai hyn, i'w gyhuddo o'r cyffelyb bethau ag y cyhuddant hwy Joseph Smith? Yn enwedig pan bregetha "dysgawdwyr yr oes" hyny, a'u cyflogi hwythau i hyny. Yn mha oes neu wlad y bu na phrophwyd nac apostol, a'r na chyhuddid hwythau yn gyffelyb gan y cyfryw dystion? Ie, cofier y treial mawr hwnw yn llys yr archoffeir-

iad, pan gyflogid y cyfryw dystion yn erbyn ein Hiachawdwr bendigedig, a pha rai, yn ddiau, a gredid mor hawdd gan yr oes hóno yn ei erbyn ef, ag y credir y cyhuddiadau hyn yn awr yn erbyn ei weision ef. Cofus genym iddo ef ddweyd, "Gwyn eich byd chwi pan ddywedo pawb yn ddrwg am danoch." Ac amlwg yw nad oedd y rhai hyny yn fwy celwyddog nâ'r rhai hyn. Ac am y traethawd hwnw, sef "*Mormonism unveiled*," yr oedd cymmeriadau ei awduron mor warthus, fel na allent werthu nemawr o hono yn y cylchoedd hyny. Ac yn lle fod Howe yn ymgyfoethogi drwyddo, yr oedd yn faich ar ei law, fel na allai ei werthu er ei *huckstera* oddiamgylch am hanner pris. A'r neb a'i darlleno, a welant nad oes ynddo sail i'r cyhuddiadau a draetha, ond dychymmygion; "tebygwn," "efallai," "hwyrach," &c. Etto, pan gafodd awduron "crefyddol" y talciihiau dwyreiniol afael yn yr ystoriau hyn, hwy a'u cyhoeddasant ar led, gan sicrhau eu bod yn wirionedd.

Yn mhlith ereill o'r parchedigion a sicrhaent yr ystori uchod am wir, cyhoeddodd un pregethwr presbyteraidd hi, o'r enw Mr. Storrs, o Massachusetts; ac fel y gwelir awydd mawr y dynion hyn i daenu celwyddau, dangoswn fel y mae y ddau draethawd hyn yn croesddweyd ac yn dinystrio eu gilydd, er y proffesa y ddau roddi yr un hanes; a thystir geirwiredd y ddau gan deitlau uchel. Dywed Mr. Storrs, yn yr hyn a broffesa fod yn dystiolaeth Mrs. Davieson, gweddw Spaulding, "fod y sect newydd hon (y Mormoniaid) yn defnyddio Llyfr Mormon yn lle y Beibl." Gwyddai y Parch. hwn yn dda ddigon fod y Saint yn credu y Beibl yn hollol, ac yn seilio eu holl athrawiaethau arno, canys clywsai hwynt yn pregethu. Dywed ddarfod i Mr S. ymfudaw i Pittsburgh, dyfod yn adnabyddus â, a dangos ei ysgrif i, Mr. Patterson, Golygydd newyddiadur, yr hwn a'i hoffodd yn fawr, ac a'i benthyciodd. Yn awr, os gwir hyn, pahâm na chawsent dystiolaeth Mr. P? Atebwn, mai am y gwyddent na chydsyniai Mr. P. â'u dyfais gelwyddog. O'r ochr arall, ar eirwiredd tystiolaeth Mr. P., mae yr uchod yn gelwydd amlwg. Cyn gynted ag yr ymddangosodd hyn i'r byd, aeth Mr. J. P. Green at Mr. Patterson, a gofynodd ai gwir oedd hyny? Atebodd Mr. P. na chlywsai erioed o'r blaen air o son am y fath beth; na adnabu y fath ddyn â Mr. Spaulding, na'i ysgrif ychwaith. Etto, dywed Hulbert yn ei draethawd, ei fod ef wedi bod gyda Mr. P., a'i fod yn dweyd na wyddai ddim am y fath ysgrif ag eiddo Mr. S. Wele y ddau bartner awdurol ben-ben â'u gilydd yn barod! Etto, dywedir fod S. Rigdon mewn cyssylltiad ag argraffwasg Mr. Patterson yn Pittsburgh. Ond y gwir yw, ni fu Mr. Rigdon erioed mewn un math o gyssylltiad ag argraffwasg, ac achos da pam, oherwydd nid oedd y fath argraffwasg mewn bodolaeth tra y bu Mr. R. yn Pittsburgh. Yma gwelir fod y Parch. Mr. Storrs wedi bod yn euog o gynllunio a chyhoeddi celwydd gwybodus. Gwnaed a fyno, ni all ei wadu; ac y mae yn rhy amlwg i'w glôg o santeiddrwydd allu cuddio cyrn a charnau yr anghenfil hwn. Etto, dywed, "Yma cafodd efe (Rigdon) gyfle i ysgrifenu ysgrif Mr. S." Sylwer, mai ei unig ddyben yw ceisio profi mai S. Rigdon a wnaeth Lyfr Mormon o ysgrif Mr. S.; ond gofynir cof da i gyhoeddi celwydd, ac ni raid ond sylwi ar ei hanes ei hun i'w wrthbrofi. Ni bu Mr. R. yn trigo yn Pitts-

burgh, ond o'r flwyddyn 1822 hyd 1826, ac am fod iddo ddim a wnelai â Llyfr Mormon, yr ydym yn ei wadu yn bendant; ac ni wyddai air am ei fodoldeb am flynyddau wed'yn, fel y profwn wrth fyned yn mlaen. Ond yn gyntaf, sylwer fel y croesa yr awduron hyn eu gilydd. Dywed Mr. Storrs ddarfod i Mr. S. gyfansoddi ei ysgrif yn New Salem, yn y flwyddyn 1812. Ond mae efe yn cuddio yr amser yr ymsymudodd i Pittsburgh, onide gwyddai y buasai yn tynu i lawr â'r naill law yr hyn a geisiai adeiladu â'r llaw arall. Dywedodd ei bartner, ond yn awr ei wrthwynebydd, sef Hulbert, i weddw Mr. S. ddywedyd wrtho ef, iddynt ymfudo i Pittsburgh yn 1812, ac oddiyno i Amity yn 1814. Ond gwna Mr. Storrs fod y weddw yn dweyd fod yr ysgrif wedi ei dychwelyd i'w hawdwr cyn iddynt ymsymud o Pittsburgh i Amity, a'i bod hithau wedi cadw yr ysgrif yn ofalus. Sylwer, pan yr addefid hyn yn wir, eu bod hwy eu hunain yn addef mai yr unig amser ag y gallasai Mr. Rigdon gael gafael yn yr ysgrif hòno oedd rhwng 1812 a 1814; canys er y pryd hyny, addefa Mrs. Davieson ei bod hi wedi ei chadw yn ofalus yn ei meddiant ei hun. Sylwer, mae Mr. Rigdon yn awr yn 47 oed; o ganlyniad, ganwyd ef yn 1793, ac felly yn 1812 (sef yr amser ag y dywedir iddo gyfansoddi Llyfr Mormon o'r ysgrif) ni allai fod ond 19eg oed. Sicrhaodd ei fam i mi (ebe un tyst), cyn iddynt erioed glywed son am enw Mr. Spaulding, na fu efe erioed o fewn cannoedd o filldiroedd i Pittsburgh, na nepell oddicartref, ond yn llafurio y ddaear gyda'i rieni hyd nes yr oedd dros 25ain oed. Dyma'r ddau fradwr yn ymladd â'u gilydd etto, a'r gwir yn dod i'r goleuni! Ac yn wir, y neb a allo gredu fod bachgenyn diddysg, yr hwn ni wnaethai ond dilyn yr aradr, braidd, wedi cyfansoddi llyfr yn cynnwys dros 600 o dudalenau, ac wedi hyny yn ei guddio yn ddirgel am oddeutu 20 mlynedd, fel na chlywsid un sill ganddo ef na neb arall am dano;—meddaf, fe all yr hwn a gredo fod hyn yn bosibl, gredu hefyd hanes Mahomet am ei saith nefoedd. Craffer, fod Mrs. Davieson, ar eu haddefiad hwy, wedi cadw yr ysgrif o 1814 hyd yr amser ag y cyflwynodd hi i Hulbert; a chymharer hyny â'r ffaith na fu Mr. Rigdon erioed yn Pittsburgh cyn 1822, oddeutu wyth mlynedd wedi i'r ysgrif fod dan glo gan Mrs. Davieson!! Gweler fel y mae y dyfeiswyr diwyd hyn yn dynoethi eu dichell, ac yn crogi eu hunain, a'u gilydd, wrth roddi y *dates* i lawr, yr hyn a wnaent er mwyn rhoddi ymddangosiad geirwirach i'w hystorïau.

Haerant hefyd, fod rhyw wraig wedi dyfod â Llyfr Mormon i New Salem, ac wedi galw cwrdd cyhoeddus i bregethu, ac iddi ddarllen rhanau o hono ar gyhoedd; fod John Spaulding (brawd y diweddar S. Spaulding) yno, a bod ei ofid mor fawr wrth weled y fath ddefnydd yn cael ei wneuthur o ysgrif ei frawd santaidd, nes yr wylodd yn dost. Gwrthwynebwn yr hanes hwn, yn y lle cyntaf, drwy hysbysu na fu un wraig erioed yn pregethu gyda'r Mormoniaid, nac awdurdod gan un fenyw erioed i alw cwrdd; ac ni chlywsom erioed o'r blaen fod un fenyw o'r Saint wedi gwneyd y fath beth. Nid yw y Saint yn credu mewn offeiriadaeth fenywaidd, fel y mae yn hysbys i bawb a wyddant rywbeth am danynt. Yn nesaf, yr oeddwn i fy hun yn byw yn New Salem ar yr amser ag y cyfeirir ato, a thystiaf na chynnaliwyd y fath gwrdd, na dim yn debyg. Etto, nid oedd neb o'r enw John Spaulding

yn byw yno, nac yn y dalaeth hóno ychwaith; ac felly, oddiar sail anwadadwy, tystiaf mai anwireddau yw pob sill o'r haeriadau yna hefyd, wedi eu cynllunio yn bwrpasol i dwyllo; ac nis gallant hwy fy ngwrthbrofi, canys heriaf hwynt i ddwyn eu prawf. Gorchwyl gwael oedd i'r Parch. Mr. Spaulding, yr hwn a broffesai fod yn was i Dduw, gyfansoddi *Romance* (sef celwyddau ffugiol), i'w ormesu ar y cyhoedd am wir, ac yr oedd yn gynnysgaeth wael i adael ar ei ol er cynnal ei deulu. Cymharer hyn â'r hyn a ddywed Hulbert ei hun, sef, "A'r ffaith hefyd fod Solomon Spaulding yn tueddu at atheistiaeth cyn ei ddiwedd, fel y profa llythyr sydd yn awr yn fy meddiant o'i waith ei hun." Felly yma etto, gweler Hulbert a John Spaulding yn croesi eu gilydd yn y Sanhedrim, a thrwy hyny yn profi. fel hwythau, gweision i bwy ydynt, canys gweithredoedd tad y celwydd a wnant. Cofier ddarfod i Hulbert gael ysgrif Spaulding gan ei weddw ef, dan addaw wrthi y cyhoeddai efe hi, ac y caffai hithau ran o'r elw, a dyma'r diweddaf a glybuwyd o'i hanes. Pa le y mae yr ysgrif wreiddiol yn awr? Atebed Hulbert. Paham na ddwg efe hi i'r amlwg, pan y gwrthbrofir ei holl ddichellion mor amlwg o'i heisieu? Paham na chyhoeddasid yr ysgrif wreiddiol, fel y gallai y cyhoedd ei chydmaru â Llyfr Mormon drostynt eu hunain, a gweled a oeddynt yn tebygoli? Nid gwiw iddynt ddweyd na allant wneyd hyn, pan y profa Mrs. Davjeson ddarfod iddi ei rhoddi iddo yn ei law ei hun. Rhodded ein darllenwyr eu rhesymau ar waith, i ystyried paham y dystawrwydd hwn, a chuddiad yr ysgrif hòno ei hun, ac yna gweler fod hyn ei hun yn ddigon i stampio y celwydd ar wyneb yr holl ddyfais o ben bwy gilydd. Nid all yr H. hwn, Mr. Storrs, na neb o'u cefnogwyr, esgusodi eu hunain rhag ei chyhoeddi, drwy haeru nad yw yn werth eu sylw; canys profa eu hymdrechiadau mawrion eisoes, y traethodau a gyhoeddasant, y darlithio a'r dyfynu i'r newyddiaduron, eu bod hwy eu hunain yn ystyried y peth o bwys mawr. Wel, paham na chyhoeddant yr ysgrif sydd yn eu dwylaw ynte, yr hon a brofai yn fwy effeithiol a rhwydd na dim arall, mai dyna darddiad Llyfr Mormon, os gwir yw yr hyn a ddywedant hwy? Atebwn drostynt yr unig addefiad a allant roi, sef, pe cyhoeddent yr ysgrif, amlygid eu celwyddau mor amlwg â'r haul ganol dydd, ac etto mae eu gwrthodiad i'w chyhoeddi yn profi yr un peth mor amlwg. Ai tybied y dyoddefa yr holl Reverendiaid duwiolfrydig, a'r gwladgarwyr selog a geirwir, ag sydd wedi bod mor ddiwyd i ddyfeisio a lledaenu yr ystori hon dros y wlad, i'r Mormoniaid, a'r cyhoedd, alw arnynt yn ofer i ddwyn yr ysgrif hòno i'r amlwg, a hwythau yn sefyll o flaen brawdlys y gwirionedd, fel *culprits* crynedig o flaen y *bar*, hyd nes y delo? Dyma eu hunig amddiffynfa bellach; ac ni wnant hyn ychwaith, canys byddai hyny yn gyfystyr â galw eu celwyddau yn ol. Ac etto, meddwn, ai tybied na wna y dynion hyn, y rhai sydd yn proffesu cymmaint o gariad at eu cyd-ddynion, ac o awydd i'w didwyllo drwy iddynt gael y gwir, a'r rhai a wnaethant gymmaint eisoes gyda'r ystori hon,—oni wnant ei gorphen, tybied, drwy gyhoeddi yr ysgrif hòno sydd yn ddiffygiol, er gwirio eu haeriadau blaenorol, pan y maent yn gwybod fod llawer o filoedd o bobl yn credu geirwiredd y Llyfr a alwant hwy yn *Romance* celwyddog, a thrwy hyny yn peryglu eu heneidiau! Beth!

a fyddant hwy yn ddystaw er eu holl ymffrost o sel, ac ewyllys da, a chariad, &c., fel na ddidwyllant y cyhoedd am beth mor bwysig, pan y mae (os gwir eu hanes ar eu haddefiad) mor hawdd iddynt wneyd hyny drwy'r ysgrif hòno? Beth meddych, ddarllenydd, am haid o ddynion a waeddant (am lyfr a greda cynnifer yn ddwyfol), eu bod hwy yn gwybod mai ffug yw, ag a gyhoeddwyd gan ddyn er mwyn cael arian i'w deulu, a'u bod hwy yn feddiannol ar yr ysgrif a brofa hyny, ac er hyny oll yn gwrthod amlygu yr ysgrif hòno ar un ammodau? Onid ydynt yn sefyll yn hunan-gondemniedig o flaen cydwybod pob dyn meddylgar am esgeulusdod mawr o'u dyledswydd, neu am gynllunio dyfais ddrwg fel hyn yn bwrpasol, i dwyllo eu cyd-ddynion, ac i'w rhwystro i chwilio i'r gwir? O'r ddau ganlyniad, rhaid fod un yn wir, ac nid oes ammheuaeth weithian pa un, debygwn, yn enwedig pan gofir dichelldra a diwydrwydd mawr y bobl hyn i rwystro lledaeniad y gwirionedd, er mwyn sicrhau eu gobaith am elw.

Ergyd farwol yw y llythyr a ganlyn i'r traethawd a elwir "*Origin of Mormonism*," (dechreuad Mormoniaeth.) yr hwn lythyr a ardystir gan Matilda Davieson ei hun, a'r hyn a brofa y llyfr uchod o waith y Parch. Mr. Storrs, o Holliston, neu D. Austin, neu y ddau, yn *forgery* cywilyddus, oddiar genfigen, oherwydd fod eu haelodau, ac un o'u diaconiaid, wedi ymuno â'r Saint: ac fel hyn ceisient ddal eu gafael ar y gweddill rhag eu dilyn hwynt.

"DICHELL GYFRWYS WEDI EI DYNOETHI."

*(Dyfynwyd allan o'r "Quincy Whig.")*

"Copus i ysgrif ymddangos yn ddiweddar mewn amryw Newyddiaduron yn proffesu rhoddi hanes tarddiad Llyfr Mormon. Pa gymmaint a atebodd yr ysgrif hòno o ddybenion ei hawdwr, na pha beth oedd ei ddybenion, nid ymholaf yn awr, ond cyflwynaf yr ochr arall o'r hanes gergwydd drwy y llythyr canlynol, fel y galluoger y cyhoedd i'w farnu ef yn ol ei ysgrif ei hun.

"Copy o lythyr o eiddo Mr. John Haven, o Holliston, Mass., at ei ferch, Mrs. Elizabeth Haven, o dref Quincy, Ills.

"Galwodd eich brawd Jesse drwy Monson (lle y triga gweddw Spaulding), yn mha le y cafodd gwmni Mrs. Davieson, ei mherch, Mrs. M. Kinestry, a Dr. Ely, am amryw o oriau; ac yn y cyfamser gofynodd iddi y cwestiynau canlynol; a chafodd yr atebion canlynol yn ngwydd Dr. Ely, mor agosed ag y gallaf gofio gair am air: sef, a ysgrifenasoch chwi, Mrs. Davieson lythyr at Mr. John Stors, yn cynnwys hanes tarddiad Mormoniaeth? Ateb. Naddo ddim, ac ni welais i y llythyr hyd nes y darllenais ef yn y Newyddiadur a elwir "*Boston Recorder*," am henw innau wrtho. Ni ddygwyd y llythyr ataf fi i'w ardystio. Cwest. Pa beth a fu i chwi wneuthur â'r llythyr hwnw? Ateb. Daeth Dr. R. Austin i'm ty, a gofynodd ryw ychydig o gwestiynau, ac ysgrifenodd ryw bethau ar y pryd. Cwest. A ydyw yr hyn a gynnwysai y llythyr hwnw yn wirionedd? Ateb. Mae rhai pethau fel yr atebais ef. Cwest. A ddarllenasoch chwi Lyfr Mormon? Ateb. Darllenais ryw ychydig o hono. Cwest. A oes tebygolrwydd rhwng ysgrif Mr. Spaulding â Llyfr Mormon? Ateb. Nac oes, oddieithr bod rhai enwau

ynddynt yn go debyg i'w gilydd. Cwest. A ddesgrifiai yr ysgrif bobl eulunaddolgar, ynte crefyddol? Ateb. Eulunaddolgar. Cwest. Pa le y mae yr ysgrif? Ateb. Daeth P. Hulbert yma. ac a'i cymmerodd ymaith, gan addaw ei chyhoeddi, ac y caffwn innau hanner yr elw. Cwest. A gyhoeddodd Hulbert yr ysgrif? Ateb. Naddo, ond hysbysodd fi drwy lythyr nad oedd yr ysgrif erbyn ei chwilio, yn darllen fel y dysgwylient, ac na chyhoeddent mo honi. Cwes. Beth yw maint yr ysgrif? Ateb. Tua y drydedd ran o faint Llyfr Mormon. Cwest. i Mrs. M. Kinestry. Beth oedd eich oedran chwi pan ysgrifenodd eich tad yr ysgrif? Ateb. Tua phump mlwydd oed. Cwest. A ddarllenasoch chwi yr ysgrif? Ateb. Pan oeddwn tua 12 mlwydd oed arferwn ddarllen rhanau o honi er difyrwch. Cwest. A ddesgrifiai yr ysgrif bobl grefyddol ynte pobl eulunaddolgar? Ateb. Pobl eulunaddolgar. Cwest. Ydych chwi yn meddwl fod rhyw debygolrwydd rhwng yr ysgrif a Llyfr Mormon. Ateb. Gall fod rhai o'r enwau yn lled debyg. Cwest. A ydych chwi yn siwr fod cymmaint ag un o'r enwau yr un peth? Ateb. Nac ydwyf. Cwest. A ddarllenasoch chwi gymmaint a gair o Lyfr Mormon erioed? Ateb. Naddo ddim gair. Cwest. A roisoch chwi ganiatad i'ch enw fod wrth ysgrif Mr. Storrs yn y "*Boston Recorder?*" Ateb. Naddo; ac ni feddyliais i'm henw i ymddangos dan y fath beth. Drwg iawn genyf oedd ei weled yno.

"Gwelir oddiwrth yr uchod, fod Mr. Austin yn ei fawr sêl i ddystrywio Llyfr Mormon, ac i ddangos ei gas at y Saint, wedi gofyn ychydig gwestiynau i Mrs. Davieson, er mwyn cael rhyw achlysur i ysgrifenu ei feddwl ei hun at Mr. Storrs yn ei henw hi. Mae Mrs. Davieson tua 70 mlwydd oed yn awr, ac yn heneiddio yn gyflym."

Yn awr, onid oedd raid fod eu hachos yn ddrwg pan y forgient enwau y ddwy wraig hyn er ei gynnal? A phrofi y *forgery* hwn yw chwilfriwio eu holl *fabric*, canys dyma oedd ei sylfaen. Nid oedd neb o'r bobl uchod yn Saint; a gwelir fod awydd Mrs. M. Kinestry yn ceisio awgrymu fod hyd y nod rhai o'r enwau yn lled debyg. pan yr addefa na ddarllenodd air yn Llyfr Mormon, yn profi ei bod hithau yn gwneyd ei gwaethaf yn erbyn y llyfr hwnw. Ac a'i tybied y buasai un dyn yn ddigon call i gyfansoddi Llyfr Mormon o ryw ysgrif fach felly, a'i wneyd yn gyfryw ag nad allodd holl ddoethineb doethion yr oes gael ynddo ef ei hun wrthbrofion, heb ddyfeisio celwyddau wedi eu sylfaenu ar *forgery;* yn ddigon call, meddwn, i wneyd hyn oll, ac etto yn ddigon ffol i beidio cyfnewid yr enwau a fuasai yn yr Ysgrif? Rheswm! rheswm bellach! Heblaw hyny, pe gallasai S. Rigdon gyfansoddi y rhan grefyddol o hòno, paham na allasai gyfansoddi y rhan arall hefyd heb weled ysgrif Spaulding, pan mai un fach oedd hono hefyd? Ac yn mhellach etto, gwel y neb a ddarlleno Lyfr Mormon, fod y rhan hanesyddol a'r rhan grefyddol o hono (fel eu galwant), wedi eu cyd-blethu â'u gilydd, fel nad yw yn bosibl eu gwahanu. Sylwer hefyd, Fod Storrs yn gwneyd fod Mrs. Davieson wedi dweyd fod yr ysgrif wedi colli. Ac yma dywed hithau ei hun ei bod hi wedi ei chyflwyno i law Hulbert, ac iddo yntau addaw ei chyhoeddi. Gweler dichell Hulbert a'i gefnogwyr yn cuddio eu gwir ddyben o ymofyn yr Ysgrif, rhag Mrs. Davieson, gan ddyfeisio celwydd etto yn esgus, sef eu bod ar fedr ei chyhoeddi, ac y caffai

hithau hanner yr elw! Syndod y fath dusw o anwireddau croeshaeriadol a ddywelodd y bobl hyn yn wirfoddol ac yn wybodus, i dwyllo y cyhoedd mewn gwaed oer. Rhyfeddwn fawr amynedd Duw yn goddef y fath anghyfiawnder. Etto mae eu hynfydrwydd wedi dod yn amlwg i bawb a'i darlleno. Ac ai tybied y llafuriasent mor egniol i wrthwynebu Llyfr Mormon oddieithr ei fod o ddwyfol darddiad, ac yn wirionedd? O, na; teyrnas wedi ymranu yn ei herbyn ei hun, ni saif hono.

Meddyliwn fod y ddichell ddofn o'r "*Spaulding Romance*," i geisio dangos tarddiad Llyfr Mormon, wedi ei dirdynu yn hollol, a'i gwrthbrofi yn ddealladwy i bob un a *ddewiso ddeall*, fel nad oes gysgod o wirionedd ynddi. Etto gan fod cymmaint o ddefnydd yn cael ei wneyd o honi gan awduron a darlithwyr, hyd y nod yn ein gwlad ni, ychwanegwn dystiolaeth P. P. Pratt, yr hyn a gyhoeddodd yn New York mewn atebiad i ddyn o'r enw L. R. Sunderland, a'r hyn a brofa tuhwnt i bob dadl, na wyddai S. Rigdon ddim am, ac na chlywsai air o son am Lyfr Mormon, nes yn mhen cryn amser wedi iddo gael ei gyhoeddi i'r byd; ac na wyddai ddim o barthed i'r Ysgrif gyfeiriedig, hyd nes i'r Hulbert hwn gyhoeddi yr anwiredd hwn arno ef. Wedi traethu ei adnabyddiaeth o Mr. Rigdon am flynyddau, pan oeddynt ill dau yn bregethwyr gyda y Bedyddwyr, a'u hymneillduaeth dan yr enw "*Dyscyblion*," neu yr hyn a elwir "*Campbelliaid*," &c. Dengys yr hanesydd y dull, a'r amser ag y clywodd efe ei hun son gyntaf am Formoniaeth, fel y canlyn:—"Yn Awst 1830, pan ar fy nhaith yn swydd Ontario, talaeth N. Y., yn pregethu, y daethum i'r adnabyddiaeth gyntaf â Llyfr Mormon. Yr oedd y pryd hyn wedi ei gyhoeddi i'r byd er's dros hanner blwyddyn, ac wedi ennill tua 50 o gredinwyr ynddo; a dyma'r unig "Saint y Dyddiau Diweddaf" oedd yn y byd yr amser hwnw. Yr oedd genyf ragfarn gref iawn yn erbyn Llyfr Mormon ar y dechreu, ac hyd nes cofio cynghor Paul, "profwch bob peth, a deliwch yr hyn sydd dda." Wedi eistedd i lawr a'i ddarllen yn fanwl a'i gymharu a'r ysgrythyrau santaidd, myfi a weddiais yn ddyfal ar Dduw am iddo mewn rhyw fodd hysbysu i mi ai gwir oedd; ac nid hir y bu'm cyn i'r Arglwydd o'i râs roddi i mi dystiolaeth o'i eirwiredd drwy ei Ysbryd Glân. A pheth oeddwn i wrthsefyll Duw. Yn fuan ufyddheais i ordinhadau yr efengyl, a galwyd fi i'r weinidogaeth drwy ddatguddiad ac arddodiad dwylaw gweision Duw, ac yn ganlynol aethym oddiamgylch gan bregethu yr efengyl. Wedi cyrhaedd swydd Ontario, N.Y., yn ol, gwelais Joseph Smith am y tro cyntaf erioed. Oddeutu y 15ed o Hydref, 1830, cychwynais gyda O. Cowdry a P. Whitmer tua thalaeth Ohio. Galwasom i weled Mr. S. Rigdon, a'r pryd hyn am y tro cyntaf y gwelodd efe Lyfr Mormon, a myfi â gefais y pleser o'i roddi gyntaf yn ei law. Synodd yn fawr pan y cynnygiais ef iddo, gan hysbysu beth oedd; ac nid heb berswadio taer arno, ac ymresymu llawer gydag ef, y llwyddais i gael gan Mr. R. gydio yn Llyfr Mormon na'i ddarllen; ystyriai yn beth rhy anhygoel yn ei olwg fod y fath beth â Llyfr dwyfol i ddod i'r amlwg. Bu ymdrechion mawr cyn y gallasai gredu ei gynnwysiad yn llwyr. A phan o'r diwedd yr argyhoeddwyd ef o'i eirwiredd, galwodd ei holl berthynasau, ei gydnabod, a'i gynnulleidfa, a daeth tyrfa fawr

ynghyd. Anerchodd hwynt yn sobr iawn am tua dwy awr ar y mater hwn, ac yr oedd y gynnulleidfa gan mwyaf yn wylo yr holl amser, dan bwys ei apeliadau a'i resymau. Gofynodd faddeuant pawb a allasai ei ymddygiad neu ei ddysgeidiaeth flaenorol fod wedi bod yn rhwystr iddynt, canys yr oedd o'r blaen yn gydwybodol yn eu dysgu yn ol y goleuni a feddai: hysbysodd ei benderfyniad i ufyddhau i'r efengyl; a'r boreu dranoeth bedyddiwyd ef a'i wraig gan Mr. O. Cowdery. Yr oeddwn i yn bresennol: yr oedd yr olygfa yn sobr a mawreddig; lluoedd o edrychwyr, gan mwyaf dan ddylanwad neillduol; bedyddiwyd amryw ereill ar y pryd hyny, ac ar ol hyny hyd nes yn ystod y gauaf hwnw a'r gwanwyn canlynol, yr oedd rhifedi y Saint wedi cynnyddu i dros fil; yr Arglwydd yn cyfranu yr Ysbryd Glân yn ei nerthol weithrediadau ar y Saint, a gair yr Arglwydd a gynnyddodd fwy fwy, a llawer o bregethwyr a ufyddasant i'r efengyl. Yn gynar yn y flwyddyn 1831, Mr. Rigdon, wedi cael ei ordeinio genym ni, a ymwelodd a'r brawd Joseph Smith *am y tro cyntaf* iddo ei weled erioed. Yn fuan wedi hyn dechreuodd ein gelynion geisio dweyd mai S. Rigden a wnaeth Lyfr Mormon. Etto, nid oedd neb o honynt wedi dychymygu un gair am y "*Spaulding Rowance*" y pryd hyn, nac ychwaith am flynyddau wedi hyn, hyd oni chyhoeddodd Hulbert ei *forgery* ddichellgar yn y "*Mormonism Unveiled.*" Yn y taleithiau gorllewinol ufyddhaodd cymmydogaethau cyfain, braidd, i'r athrawiaeth, wedi i'r "*Spaulding Romance*" gael ei chyhoeddi yn eu plith; ac yn wir nid ystyriasom hi yn deilwng o wrthwynebiad, hyd nes wedi i awdurou crefyddol a phregethwyr y dref hon (New York) ei chyhoeddi gan sicrhau ei bod yn wirionedd. Yn awr, tystiaf yn ddifrifol fod y rhai a luniasent y "*Spaulding Story*" (am Mr. Rigdon, &c.) yn gyffelyb gau-dystion i'r rhai hyny a gyhuddent y dyscyblion o ladrata corff Crist o'r bedd. Dyma yn fyr yw hanes y "*Spaulding Story.*" Diau fod llawer wedi ei chymmeryd hi yn esgus rhag credu ac ufyddhau i'r gwirionedd, ond ni rwystrodd hi neb gonest eu calon, ac awyddus am y gwirionedd, i dderbyn y genadwri ddwyfol a grasol a ddanfonodd Duw i'r byd. Canys gwna y cyfryw ymchwilio i'r peth, ai brofi yn hytrach na dilyn ystoriau gelynion proffesedig y gwirionedd! Tystiaf yn ddifrifol fy mod i yn gwybod fod Llyfr Mormon yn wirionedd dwyfol, ac wedi cael ei amlygu trwy allu Duw. Ac er gwaethaf holl ddichellion a chamgyhuddiadau y diafol a'i holl weision, ni syflant byth un o'i seiliau. Ni allant byth wrthbrofi ei dystiolaeth, ond efe a dreigla yn mlaen yn gyflymach pa fwyaf ei gwrthwynebir, ac efe a faluria ei holl wrthwynebwyr fel mân lwch y clorianau." "P. P. PRATT."

Ni raid ond ystyried rhagoroldeb tystiolaeth tyst fel hwn ar ystoriau a dychymmygion gelynion proffesedig, o genfigen, er profi gwirionedd y Llyfr hwnw i bob dyn rhesymol. Mae hwn yn *dyst*,—mae ei dystiolaeth yn sylfaenedig a'r *wybodaeth*, ac nid fel y lleill ar ystoriau y newyddiaduron; a phe yr adnabyddai y cyhoedd y tyst hwn gystal ag yr adwaenom ni ef, a phe baent wedi deall pa faint a ddioddefodd er mwyn ei dystiolaeth hòn, nid amheuid gair a ddywed byth am hyn.

Gan yr hòna y "*Spaulding Story*" mai Mr. Rigdon a gyfansoddodd

Lyfr Mormon, dyfynwn yn nesaf Lythyr o eiddo Mr. Rigdon ei hun, yr hwn a ysgrifenodd at Olygyddion newyddiadur, yr hwn a gyhoeddodd y "*Spaulding Story*," yr hon dystiolaeth sydd yn aros yn anatebadwy hyd heddyw.

"Messrs. Bartlett and Sullivan. Yn eich cyhoeddiad dyddiedig y 18ed, gwelais lythyr wedi ei arwyddo gan ryw un a eilw ei hun yn Matilda Davieson, yn proffesu rhoi hanes tarddiad Llyfr Mormon, drwy ddweyd ryw *moonshine story* am ryw Solomon Spaulding, yr hwn ni chlywswn erioed air am ei fodolaeth, hyd oni ddarllenais y llythyr uchod, a'r hyn a ddywed D. P. Hulbert am dano; a'r hyn a ddeallaf yn awr am ei gymmeriad yw, yr hyn a gasglaf oddiwrth waith ei wraig yn dwyn fy enw i o flaen y cyhoedd, i geisio profi fy mod i yn gwybod am yr hyn ni wybum erioed, ac ar dystiolaeth ei wraig ei hun, gelwydd ysgrif ei gwr; canys addefa fod ei "gwr duwiol" yn ei fywyd wedi ysgrifenu *Romance* (celwyddau) er mwyn elw! Pa faint o gelwyddau a bregethasai yn ei fywyd am arian nid hysbysa, ond hawdd barnu na buasai yr hwn a wnaethai y naill lawer rhy dda i wneyd y llall. Gan mai hyn yw'r unig hanes sydd genyf fi am y fath ddyn a'r Parch. S. Spaulding, nid oes genyf ond tyb wael am ei foneddigeiddrwydd, ei ysgolheigdod, na ei dduwioldeb, canys pe rhoddasai y naill neu y llall, dylasai ddysgu ei wraig i beidio a dweyd celwyddau, na chyssylltu ei hun a chelwyddwyr, godinebwyr, a'r gwaethaf o ddynion.

"Am yr ystori hirfaith ac afluniaidd a ddywed, fod Ysgrif Spaulding wedi bod yn llaw Mr. Patterson, o Pittsburgh, yr hwn oedd yn meddu argraffwasg yno, a'm bod innau wedi dweyd fy mod mewn cyssylltiad a'r fath swyddfa, &c., &c., angheurheidiol yn unig yw eich hysbysu, mai anwireddau dychymygol ydynt bob gair, heb gymmaint a chysgod o wirionedd yn un o honynt. Nid oedd yn Pittsburgh yr un dyn o'r enw Patterson ag a wnelai ddim ag argraffwasg tra y bu'm i yno. Clywais fod un o'r enw wedi bod yno, ac wedi bod yn anffortunus, a thorir i fyny *flynyddau cyn i mi erioed fyned yno.* Eithr pe dywedwn ddarfod i mi erioed glywed gair o son am y fath ddyn a Solomon Spaulding, na'i wraig obeithiol, cyn i D. P. Hulbert gyhoeddi yr ystori uchod arnaf, byddwn yn gelwyddwr fel y maent hwythau. Os gwir a ddywedant, paham na chawsent dystiolaeth Mr. Patterson i'w sicrhau, gan y byddai efe yn benaf a allent gael i hyny? ac y mae absenoldeb ei dystiolaeth ef yn dangos nad oes sail i'r *fabric.* Yr achos oedd am fod Mr. Patterson yn ddyn rhy eirwir a da, i fod yn offeryn i daenu y fath gelwyddau; a phe gelwid arno, tystiai Mr. Patterson mai gwirionedd yr wyf yn ei ddweyd am hyn.

"Yn nesaf, foneddigion, caniatewch i mi roi i chwi hanes Hulbert hwn (fel ei gelwir; nid am ei fod yn Physygwr, ond cafodd y teitl o Dr. oherwydd ei fod yn seithfed fab) a'i gefnogwyr a fuant yn cynllunio ac yn lledaenu y cruglwyth gwarthus hwn o gelwyddau. Canys pe gwybuasech chwi gymmaint am gymmeriad yr Hulbert hwn ag a wn i, nid wyf yn meddwl yr ystaeniasech byth mo eich colofnau drwy gyhoeddi dim o'i waith. [Yna dyry ein tyst hanes ymddygiadau gwarthus y dyn hwn, yn gyffelyb i'r hanes dechreuol a roisom, ynghyd a hanes ychwanegol, am fel y darfu rhai o'i gefnogwyr gael eu dala yn y gwely

gan H. ei hun gyda ei wraig, drwy yr hyn y cafodd efe ganddynt er-mwyn heddwch, gant o ddollars, ac iau o ychain, a gwnaed heddwch fel hyn rhwng awduron y llyfr hwnw a elwir "*Mormonism Unveiled*," canys yr oedd yn lles i H. hefyd wrth gwrs fod i'r llyfr hwnw ddod allan, canys ar yr ammodau hyny y gwerthasai ei hawl ynddo i Howe, ynae be ein hanesydd, cymmerodd H. ei wraig ac a aeth i barth arall i fyw, gan adael yr hen ddiacon Clap, ei feibion, Mr. Bentley, Howe and Co., i ddioddef y gwarth o geisio cynllunio celwyddau yn fradwrus i dduo cymmeriadau y dynion hyny a ofnent wynebu mewn ymresymiad. Cenedlwyd yr ystori sydd yn eich cyhoeddiad gan y blaid hon, cyn iddynt ymddatod oddiwrth eu gilydd. Pa beth ond celwyddau a ellir ddysgwyl gan y fath bobl â'r rhain? Mae yn llawenydd nid bychan genyf fi, i weled nad oes gan fy ngelynion well arfau i ymladd i'm herbyn, nac yn erbyn y grefydd a gofleidiaf, na chelwyddau; canys pe gallasent gael gwell diau y defnyddiasent y rhai hyny. Etto rhaid addef fod gradd o gyssondeb yn ein herlidwyr yn hyn, canys, gan na wna gwirionedd ddystrywio gwirionedd, ofer fyddai i'n herlidwyr ddwyn gwirionedd i'n herbyn, oherwydd ein hadeiladu a wnai hyny; ymddan-gosant yn wybodus o hyn, pan y crafangant yr unig offerynau a allant gael, sef celwyddau, &c. Dyma yr unig offeryn a ddygwyd erioed yn erbyn y gwirionedd.

Er rhoi ymddangosiad deniadol a theg ar eu celwyddau, gwisgant hwynt a llawer o ryw ffug santeiddrwydd a chrefydd; canys gwyr pawb y derbynir celwydd ffug grefyddol yn barotach gan lawer na chelwydd o ymddangosiad arall; ac felly y daw celwyddau y rhai hyn wedi eu harwyddo gan weddw dduwiol i bregethwr duwiol. Etto ym-ddengys mai y mwyaf nodedig o'i holl weithredodd duwiol oedd ysgrif-enu cruglwyth o gelwyddau, er mwyn elw, yn ol eu haddefiad eu hunain; ond meddyliant fod ei dduwioldeb rhyfeddol ef yn ei santeiddio hwynt am wirioneddau, ac y mae celwyddau yn troi yn wir dan anadl rhai mor dra santaidd, yn enwedig pan wedi eu haddurno gyda theitlau y "*Re-verendiaid*," &c. Ond y mae yr amser tywyll hwnw wedi myned heibio gyda dynion rhesymol, pan y gloywid celwyddau noeth, ac eu trwsid gan ffug grefyddol a rhith santeiddrwydd. Gwyr y cyhoedd yn dda drwy brofiad, nad yw y rhai sy'n hòni y teitl o Rev. yn anffaeledig, ond fod llawer o honynt yn meddwl y cuddia y gochl hon eu cel-wyddau hwy rhag y gwarth a deilyngant.

Yr unig achos yr ymosoda fy erlidwyr arnaf a chelwyddau yw oher-wydd na feiddiant fy ngwynebu mewn rhesymeg, am eu bod yn gwy-bod pe gwnaent hyny y collent eu pwnc; yna ceisant rwystro y werin rhag ymchwilio i'n hathrawiaeth, drwy gyhoeddi celwyddau. Ystyriaf hyn yn ganmoliaeth fawr i mi ac i'r athrawiaeth a broffesaf."

"Ydwyf, yr eiddoch yn barchus,

S. RIGDON."

Mae'n hysbys i'r cyhoedd weithian fod i'r awduron a'r Peirch. Americanaidd ag y buom yn son am danynt, frodyr undad yn Lloegr, ac ysywaeth yn nes atom etto; ïe, yn Nghymru; ac fe'u hadnabyddir yn eglur ar eu gwaith yn defnyddio yr un arfau yn erbyn yr un gwir-ioneddau dwyfol yn gyffelyb. Rhoddwn enghraifft o'u gwaith yn

Lloegr yn ddiweddar, er esiampl o'u hawydd mawr i wrthwynebu y gwirionedd, fel y croesant eu gilydd yma fyth. Ac er dangos i'r rhai o'r Cymry a rodiant yr un llwybrau, yr arwydda cwymp yr holl rai hyny mewn gwarth i'r ffos a gloddiasant i'r dieuog, mai cyffelyb yn ddiau fydd eu tynged hwythau. Gwirionedd yn unig a ddeil ei brofi yn drwyadl.

Dyfynwn yr hyn a ganlyn o adolygiad Mr. John Taylor ar waith y Parch. Mr. Heys, gweinidog Wesleyaidd, yn erbyn Llyfr Mormon, yn yr hwn y ceisia ddangos tarddiad y llyfr hwnw. Cymharer yn deg wyneb yn wyneb hanes ei frawd Parchedig, Mr. Livesey, am yr un peth:—

"Dywed Mr. Heys mai Joseph Smith yw awdwr Llyfr Mormon. Dywed Mr. Livesey mai S. Spaulding yw ei awdwr. Dyma ddau haeriad mor groes anghydmodol a'u gilydd ag a fyddai haeru mai yr un dyn yw Mr. Heys a Mr. Livesey. Haera y naill mai Martin Harris ac O. Cowdery a'i hysgrifenasant o enau Joseph Smith, tra yr oedd efe yn syllu ar gareg a ddaliai yn ei het. Sicrha y llall mai S. Rigdon a'i hysgrifenodd gan gyfnewid ysgrif rhyw S. Spaulding. Gwiria y naill iddo gael ei ysgrifenu yn swydd Susquehan, a chan M. Harris, ac O. Cowdery. Gwiria y llall mor gadarn mai yn Ceonneant, talaeth Ohio, yr ysgrifenwyd ef, ac wedy'n haera mai yn Pittsburgh. Pa. yr ysgrifenwyd ef. Mae pob un o'r manau uchod gannoedd lawer o filltiroedd oddiwrth eu gilydd; ac y mae yn anmhosibl i fwy nac un o'u haeriadau fod yn wir. Cymmaint a hyna er dangos anghysondeb tystiolaethau y Peirch., pa rai a gynnygir am *ffeithiau* yn erbyn Llyfr Mormon! Enghraifft arall o gelwyddau y Peirch. a welir yn yr hyn a ganlyn; haera tri o honynt yn y "*Mormonism Unveiled,*" sef y Peirch. John Spaulding, Parch. John Miller, Parch. O Smith, ac ereill o'r un chwaeth "*dduwiolfrydig*" eu bod hwy wedi bod yn gwrando am oriau bwygilydd ar Mr. S. Spaulding yn darllen ei ysgrif, nes yr oeddynt yn bur hyddysg a'i chynnwysiad, ag y proffesa roi *hanes y deg llwyth Israel* a aethant ar goll, ac mai o honynt hwy yr hanodd yr Indiaid Americanaidd. Tystia y Peirch. hyn hefyd eu "bod hwy wedi darllen Llyfr Mormon, ac fod y rhan hanesyddol, yr enwau, &c., yn gyffelyb yn y ddau." Yn awr, er gweled pa faint o ymddiried a ddylid roi i dystiolaethau y Peirch. hyn sydd wedi braidd lanw y byd ag ystoriau yn erbyn Llyfr Mormon, er gweled mai celwyddau yw yr oll a ddywedant, canys nid yw Llyfr Mormon yn proffesu rhoddi hanes "y deg llwyth Israel," nac ychwaith mai "o honynt hwy yr hanodd yr Indiaid Americaniaidd" fel yr haerant, ond y mae yn awr i'w weled mai hanes llwyth Joseph a ddyry Llyfr Mormon. Pe buasent wedi ei ddarllen fel yr haerant, sicra y gwelsent y gwahaniaeth, ac yr arbedasid iddynt y gwarth o'r celwydd hwn. Dyma awduron goreu Mr. Heys a Mr. Livesey, a dyma awduron y darlithwyr Cymreig hefyd. Mae y ddau yn weinidogion parchus gyda y Wesleyaid. Hòna y ddau fod eu hanes wedi eu sêlio ar ffeithiau. Sicrha Mr. Heys fod ei dystion ef yn rhai credadwy, yn sicr; ond haera Mr. Livesey yr un mor gadarn, fod ei dystion yntau mor eirwir ac anwrthwynebadwy! Pa beth a wneir? A raid credu y ddwy ochr, am fod y ddau Beirch. yn haeru eu bod yn wir, pan y maent mor groes i'w gilydd ag sydd

yn bosibl. Ac os nad gwir y ddwy ffordd ar yr hanes wedi eu cadarnhau gan y fath ddynion â'r rhai hyn, pwy a greda fod un o honynt yn wir? Atebwn nad un dyn rhesymol a'u creda, ddim hwy nac y cânt gyfleustra i glywed y ddwy ochr."

Nid ymhelaethwn ar y "*Spaulding Romance,*" ond dymuno o'n calon, ar fod yr uchod yn foddion dan arddeliad Ysbryd y gwirionedd, i argyhoeddi ein cydgenedl anwyl, rhag ymguddio mewn noddfâu celwydd oddiwrth saethau y gwirionedd; ac fel na choeliont y chwedlau disail hyn a'r cyffelyb a draethir yn erbyn y Saint, serch eu hardystio gan deitlau uchel weithiau; ond "Profwch bob peth a deliwch yr hyn sydd dda" a fyddo ein harwyddair ni oll.

---

## YR AIL DDARLITH.

Yr unig hysbysiad a gawsem am yr ail ddarlith hon oedd, drwy i'r boneddwr ei hun ei chyhoeddi ar ddiwedd ei ddarlith y nos o'r blaen; canys nid ynganai air yn ei Hysbysiadau am dani. Yr oeddwn innau wedi cyhoeddi drwy Hysbysiadau y buaswn yn adolygu ei ddarlith gyntaf nos dranoeth, sef ar y 3ydd. Addawsom hefyd yn lle codi 6c. am ddod i mewn fel y gwnaeth efe, i werthu llyfr o bris swllt am chwe cheiniog, i bawb a ddelai i wrando; yr hwn a gynnwysai hanes gwirioneddol y Saint eu hunain o barthed i'r mwyrif o'r camgyhuddiadau a ddygodd yr areithydd yn eu herbyn.

Cyfaddefodd yr areithydd o'r pwlpud ei fod yn gwybod am ein bwriad i adolygu ei ddarlith nos dranoeth; ac etto, cyhoeddodd ei ddarlith ei hun yr un amser! Beth a allasai fod ei ddyben drwy hyny, ond cadw y bobl rhag dyfod i glywed y ddwy ochr? Onid oedd hyn yn tarddu oddiar euogrwydd cydwybod, am na allai ddysgwyl amgen na ddynoethid ei ddichell a'i gelwyddau haerllug ef. "*Peidiwch a'u gwrando,*" oedd ei arwyddair o hyd; ac yn awr cyhoedda ei ddarlith nesaf i fod yn rhad, ac ar yr un oriau a ninnau, yn bwrpasol er cadw ei wrandawwyr rhag dyfod i'n gwrando. Beth a allasai wneyd yn fwy anheg? Os nad dyma ei ddyben, paham nad oedasai ei ddarlith un dydd yn hwy, neu gyhoeddi ei ail, fel ei ddarlith gyntaf? Cynnaliwyd yr ail ddarlith hon yn nghapel Bethania, sef capel yr Annibynwyr. Syndod mor gariadus y mae y ddwy blaid hyn yn awr! Ychydig yn ol nid oedd dim rhy ddrwg ganddynt ddweyd am eu gilydd, a'r naill â'i ddwrn yn ngwyneb y llall ar hyd yr heolydd. Ond yn awr fraich yn fraich a thrwyn yn nhrwyn i erlid a chamgyhuddo y Saint druain. Wel, os da undeb, a chariad fel hyn at eu gilydd, dylent gyfaddef i'r Saint achosi hyny o ddaioni ynte, pe dim arall.

Am ei ail ddarlith, nid oedd ynddi nemawr ddim newydd o bwys, ond yr hen rigymau a adolygasom droion o'r blaen, ailadroddiad o ranau o'r ddarlith flaenorol, y "Beibl Mormonaidd," gwadu datguddiad, a dysgu ei wrandawwyr, nid yn unig yn erbyn Mormoniaeth, ond eu gosod ben ben â'i "*phleidwyr*" hefyd; sef codi erlidigaeth boeth yn erbyn *personau* i naill a'i eu *halltudio* neu i'w lladd, wrth gwrs, fel yr awgrymai y noson o'r blaen. Dywedasom mai canlyniad naturiol

o'i gamgyhuddiadau fyddai cyffroi dynion i ladd eu gilydd, ac yn awr dyma efe ei hun ddigon creulon i addef ar gyhoedd, mai dyma yw ei ddybenion gwaedlyd! Ai gweddus hyn mewn dyn a broffesa fod yn "*weinidog efengyl*" y tangnefedd? Ai dyma eich ffordd chwi, Syr, i argyhoeddi dynion? Amlwg yw wrth eich ffrwythau gwas i bwy ydych. Ie, digon amlwg nad ydych yn was i'r hwn a ddywedodd "gwyn eu byd y *tangnefyddwyr*." Onid yn eich godrau chwi y ceisir y gwaed gwirion a achoswch ei dywallt? Gwaeddai y darlithiwr yn uchel (ebe ein *reporters*) "mai *infideliaeth* o'r fath waethaf yw Mormoniaeth." Ac yn mhen ychydig addefodd fod y Mormoniaid yn credu yr Hen Destament! A'r noson o'r blaen .cofier ei frawddeg, "pe *infidelity* fuasai dan sylw yn lle Mormoniaeth, buasai yn ogoneddusach o lawer." Pwy a ddichon gredu fod y fath haerwr yn feddiannol ar reswm dynol? Dangosodd enghraifft o'i haerllugrwydd a'i annuwioldeb yn cymharu ei gymydogion i'r "*babwns*," neu y *monkeys* sydd yn Affrica, a bod eu castiau yn debyg i'w gilydd!! O syndod fod dynion rhesymol yn diraddio dynoliaeth i'r fath eithafion o annuwioldeb! A mawr yr "ha-ha-ha," oedd drwy'r dorf.

Yn nesaf sylwn ar ei dwyll resymeg ai gamddyfyniadau o'r llyfr a elwir "*Hanes y Saint.*" Addawsai ei adolygu y noson flaenorol, a dyleswn hysbysu mai yr unig enghraifft a ddyfynodd i ddangos twyll y llyfr ar ddiwedd ei ddarlith flaenorol oedd fel y canlyn; dyfynodd yn tudalen 100, hanes y "*sofl-ieir*" hyny yn disgyn oddiamgylch y Saint. Ac yna darllenodd o tudalen 102, "Maent yn awr (sef y Saint) drwy anghyfiawnder y dalaeth yn marw o newyn ac oerfel yn yr anialwch, &c." Ei ddyben yn hyn oedd profi yr hanesion yn groes i'w gilydd. Ond y neb a gymmero y drafferth o ddarllen y llyfr drosto ei hun a wel yn amlwg ddrygioni a thwyll Mr. R. ei hun, canys nid oes gwrthdarawiad yn yr hanes gymmaint ag sydd yn ei lygaid a'i galon ef i'r gwir. Dyfyniad oedd y blaenaf allan o'r "*Millenial Star,*" ac yn son am yr ychydig weddill a yrwyd o ddinas Nauvoo gan y *mobs*, ac mai gyferbyn a'r ddinas, ar yr ochr arall i'r afon yr oeddynt pan ddaeth y "sofl-ieir," ac nid wedi myned i'r anialwch; ond dyfyniad o'r "*New York Sun,*" yw yr hanes olaf, ac yn cyfeirio at y gwersylloedd cyntaf a aethent o Nauvoo er's tua blwyddyn cyn y lleill, a pha rai oeddynt gannoedd lawer o filltiroedd oddiwrth y rhai a gawsant y "sofl-ieir." Heblaw hyny nid y Saint, cofier, ond Golygydd Newyddiadur, yr hwn a fuasai yn elyn tost i'r Saint, a gyhoeddodd yr hanes olaf; a seilia efe ei hanes nid ar *ffeithiau,* ond casgliadau naturiol o'i *eiddo ef* oedd meddwl nad allai dynion wedi cael eu hyspeilio a'u halltudio fel y cafodd y Saint, lai na marw o newyn. Dyma yn unig a awgrymir yn yr hanes, Mr. R., a phaham y byddwch chwithau mor anonest a gwyrdroi ein geiriau a'n hegwyddorion yn bwrpasol a gwirfoddol? Onid ydych yn cofio byth fod dydd yn dod pan y caiff y Saint gystal cyfiawnder ag a gewch chwithau? Cofiwch mai dyn cyfrifol ydych! Ond, at adolygiad o'r llyfr yr ail noson,—Darllenodd rai brawddegau, gan wthio i mewn ei hen ystyriau celwyddog ei hun fel pe buasai yn eu darllen o'r llyfr; er enghraifft, pan yn darllen hanes Joseph Smith a'r llafnau; dywedodd ebe ein tystion, fod yr angel wedi dweyd na chaffai J. S. mo'r llafnau

hyd nes y dysgai yr iaith Aiphtaidd, &c. Yr hyn haeriad sydd gelwyddog bob sill, a gwyddai Mr. R. o'r goreu nad oedd dim yn debyg i hyny yn y llyfr, a mawr y chwerthin oedd am y celwydd yna ar gost y dieuog. Beth na wna y dyn a wyrdröa ac a haera gelwyddau gwybodus fel hyn o bwlpud? Onid yw yn gwrthod pob cynnyg o wirionedd, ac yn profi ei fod yn caru celwydd, ac mai celwydd a fyna er pob peth? Mae hanes ei "deithwr" fel ei geilw am "deml ar ochr glaswydden," "cario deuddeg o ddynion ar drosolion," a bod "Joe wedi gwario arian y deml cyn ei gorphen, a gorfod gwerthu ei *fox*, &c.," heb air o wir ynddynt oll. Ni roddodd y Saint ddwy gareg ar eu gilydd tuag at adeiladu teml yn Missouri, na chasglu dwy geiniog o arian i'r dyben hyny. Ac am y deml a adeiladasant yn Nauvoo flynyddoedd wedy'n, gorphenasant hi; ac ni chafodd *Joe* yr arian hyny ychwaith. Gadewch lonydd i'r marw rhag eich cywilyddio pan ddeuwch i'w gyfarfod etto o flaen y *bar!* Ni allwn fyned heibio yn ddisylw i'r haeriad anwireddus hwnw o eiddo ein darlithydd; sef, mai y Saint oedd yr aflonyddwyr yn Missouri, fel y bu y *Chartists* yma [ïe, cofiwch am glebar eich tad Davies bid siwr er ceisio cynhyrfu y llywodraeth i'n herbyn, ac i roddi caniatad i'r Peirch. handlo eu cleddyfau yma i'n lladd ni fel y gwnaeth ugeiniau o'ch brodyr pregethwraidd a gwaedlyd â'r brodyr diniwed yn Missouri!] ac mai rhyw gymdeithas dangnefeddus yno, a alltudiodd y Mormoniaid er mwyn heddwch. Clywer amodau *heddwch* y "*tangnefyddwyr*" hyny yn ol addefiad y Parchedig ei hun!

1. "Nad oedd i un o'r Mormoniaid aros yn eu mysg." Pa ryddid sydd yn hyna?

2. "Y cawsent amser i werthu eu heiddo." Addawsant hyn yn bwrpasol i fradychu y Saint oddiar eu gwyliadwriaeth, a daethant am eu penau yn mhen ychydig amser yn y nos, gan ladd amryw yn ddirybydd yn eu gwelyau, ac ereill pan yn amddiffyn eu hunain a'u plant o ganol fflamau eu tai eu hunain, pa rai a losgwyd gan eu gelynion.

3. "Y byddai raid i'w hargraffydd beidio ag argraffu dim ychwaneg." Pa gaethiwed mwy sydd bosibl na chaethiwed y wasg? Sicrhawyd ei rhyddid hi hyd yn nod yn *Constitution* yr U. D.; ac onid yw yr addefiad o ommeddiad y Missouriaid i'r Saint argraffu dim, yn profi pwy yw y mobs a'r ymosodwyr? Paham troi y peth yn hollol yr ochr arall i fyny, pan ar yr un pryd yn dwyn ffeithiau eich hunan i brofi hyny? Hefyd, nid yw cyfreithiau yr America yn cydnabod alltudiaeth am unrhyw drosedd. A phwy ond y "*tangnefeddwyr*" hyny, ebe Mr. R. a alltudiasant bob un o'r Mormoniaid, ïe, bob gwraig, bob plentyn, pob henwr penllwyd, a'r cyfan heb dreial na dim. Gwareder ni rhag y fath dangnefeddwyr, a'u hamddiffynwyr hyd y nod yn Nghymru! Nid yw cyfiawnhawyr y fath ammodau ysgeler un gronyn yn rhy dda i helpu eu cyflawni hefyd, pe gallent. Ond er gweled hanes cywir am yr erlidigaethau creulon a diachos ar y Saint yn Missouri, gwel y llyfr a elwir "*Hanes y Saint.*"

Cofus i Mr. R. ddweyd y noson gyntaf, mai pedair o ferched yn unig oedd yn eglwys y Saint yn Missouri. Ond yn awr addefa eu bod ddigon lluosog i ymosod ar y wlad, hyd nes yr oedd yn beryglus

byd y nod i'r llywodraeth, fel yr oedd yn rhaid eu halltudio ! ! Pedair o ferched yn peryglu'yr Unol Daleithiau ! Y llonaid llaw o Formoniaid yn erbyn byddinoedd a goncwerasent oreuon Ewrop, a holl lynges Prydain Fawr ! Pobl go ddewr, onide, pan feddylient goncro tuag 20,000,000 o bobl, canys gwyddent y buasai y cwbl yn amddiffyn eu gwlad rhagddynt hwy. Pa bryd y darfydda eich dwlni, Syr ? Yn nesaf, ceir cyhoeddiad newydd o hen ystori ganddryll "Casswell," a'i "Greek Psalter." yr hon sydd wedi ei gwrthbrofi mor amled, nes y cywilyddia neb braidd ei hadrodd. Ond y mae pob sothach yn newydd a melys yn ngenau ein darlithiwr. Am y dyn hwnw a'i lyfr, dywedwn yr hyn a wyddom, a "pheth mawr yw bod yn llygad-dyst," ebe Mr. R. ei hun neithiwr. Ymffrostiai y Caswell hwn pan ar ei daith o St. Louis i Nauvoo, yn ein plith, "Dyma yr offeryn (ebe efe am ei hen lyfr) a ddadymchwel yr hen Joe Mormoniaeth ;" ac addefodd (ebe tyst wrthym a'i clywodd) "mai myned yn bwrpasol yr oedd efe i Nauvoo i gael defnydd traethawd yn erbyn Joe." Dymunodd gael *private interview* gyda Joseph Smith, ond gommeddodd yntau, "oherwydd (ebe efe) daw llawer o bobl fel hyn ataf, ac os na bydd genyf dystion, cyhoeddant bob camgyhuddiadau ag a ddewisant arnaf wedi myned ymaith." Yr oedd peth "gwahaniaeth ysbrydoedd" gan Joe, onid oedd Mr. R., fel ag i allu deall amcan y dyn drwg hwn ar yr olwg gyntaf ? Am ei lyfr, dywedodd J. Smith mai Groeg hen iawn oedd efe, oddieithr ychydig ddalenau yn y naill ben i'r llyfr, pa rai oeddynt *Egyptian Hieroglyphics* ; dyna yr oll a fu, braidd, o sail i ystori afluniaidd Casswell. Heriwyd ef wed'yn i ddangos ei lyfr, os nad felly yr oedd ; ac ni wnaeth ond *exit* drosodd i Loegr. Gwaeth *exit* onide, nag a wnaeth Joe ag ef drwy fyned allan am *ride*. Deallai Mr. Smith Roeg ac Hebraeg yn dda, ac yr oedd cannoedd yn Nauvoo yn eu deall heblaw efe. Mae gwaith Mr. R. yn profi ei dyst hwn yn gelwyddog, trwy ddweyd wrth Joe iddo gael y *Psalter* yn *wyrthiol*, gan wadu gwyrthiau ar yr un pryd, yn profi nad yw efe yn rhy eirwir i gyhoeddi yr holl gelwyddau ereill sydd yn ei ystori a'i lyfr.

Wedi *ransackio* ei hen draethodau a'r newyddiaduron, a phob *sink-hole*, am bob chwedl a allai bigo, a dangos ei dwyll-resymeg ei hun, ie, wedi corddi ei ymenydd i'r radd uchaf o *Hydrophobia* yn ei bwlpud, cofiodd y Parch. am y llyfr a elwir "*Hanes y Saint*," a chan ei guro yn y pwlpud, a'i ddirdynu braidd, o gynddaredd at y papyr a'r ink, arwyddo pa fodd y gwnaethai a'i awdwr ; a chyn dangos un cyfeiliornad oedd ynddo, na dwyn na rheswm nac ysgrythyr i'w wrthbrofi, ond ei haeriadau ei hun a'i bartneriaid, condemniodd ef yn *wholesale* yn y brawddegau efengylaidd a ganlyn :—"Os ydych am brynu llyfr diwerth, dyma 'fe. Os mynwch lyfr yn llawn o dwyll, dyma 'fe. [Os felly, hawddach fuasai iddo ef roddi un enghraifft o'r twyll.] Os mynwch lyfr yn dangos DIAWLEDIGRWYDD JOE, dyma 'fe," &c. Dyna ffordd efengylaidd a boneddigaidd i adolygu llyfr, onide ? Ond, da nad y'm ni o fewn cyrhaedd gwinedd a dannedd cnowyr fel hyn, onide gwae ni a fuasai. Gallesid meddwl fod ei ddannedd yn galetach, hyd yn nod na dannedd y wasg haiarn, a'i fod yn ddigon cynddeiriog i'w chnoi hithau yn chwilfriw, wrth y cynddeiriogrwydd a ddangosodd yn erbyn y wasg a gyhoedda ein llyfrau. O, fel yr annogai bawb i'w

gwrthwynebu â'u holl rym. Nid oedd Louis Philippe o Ffrainc erioed mor elyniaethus i ryddid y wasg ag yw hwn! Druan bach! rhwystro y Saint i gyhoeddi eich castiau a'ch twyll chwi a'ch partneriaid, aïe! Coffawch ni am y llofrudd a waeddai am dori y crogben i'r llawr, mai peth drwg ydoedd.

Pa fodd y gallasai Mr. R. arddangos y gormes a'r annhegwch oedd yn ei galon, yn fwy na thrwy geisio dylanwadu hyd eithaf ei allu i'n rhwystro i gael cyhoeddi ein hegwyddorion, nac amddiffyn ein cymmeriadau, na'n crefydd, trwy'r wasg? Yr oedd eisoes wedi rhybuddio y bobl i beidio a'n gwrando, ac ni cheir nemawr wrandawiad yn y manau lle y gall efe a'i gyffelyb ddylanwadu; ond haerir y chwedlau ffol uchod, a'r cyffelyb, i'n hwynebau, er codi terfysg, a'n rhwystro i addoli Duw, nes y maent yn warth i Gristionogaeth hyd yn nod yn ngolwg anffyddwyr. Gwnaeth ei waethaf hefyd i ddwyn dial y llywodraeth arnom, drwy ein cymharu i'r Siartiaid oedd yn aflonyddu yma gynt, gan awgrymu mai felly y gwnaem ninnau oni alltudid ni yn fuan. Ac at hyn oll, pe gallai gan y wasg rhagom, tebygai y gallai wneyd a dweyd a fynai heb wrthwynebiad. Etto ni allodd, ac ni all ddangos un enghraifft i brofi y Saint yn aflonyddwyr. Nid ydynt yn pregethu nac yn gwneyd dim yn erbyn rhyddid un dyn, heb son am erlid crefyddau eu cymmydogion; ond y maent yn pregethu yr efengyl a gredir ganddynt, i'r hyn y caniatâ y llywodraeth gystal rhyddid iddynt hwy ag ereill. Os yw ein crefydd yn anysgrythyrol, profer hyny, ac yna sicrhawn y bydd yn dda genym adael y cyfeiliornad yn y fan. Onid Cymry, a chreaduriaid rhesymol, ydym, wedi ein geni yn rhydd mewn gwlad rydd, a channoedd o honom wedi bod yn aelodau parchus, ac yn dal swyddau eglwysig, gyda'r gwahanol enwadau crefyddol amser maith? Paham na chawn fwynhau yr un rhyddid yn awr ag yr oeddym yn ei fwynhau y pryd hyny, gan mai yr un Duw sydd genym, er ein bod wedi cyfnewid ein henwad? Paham terfysgu a thraethu y chwedlau disail hyn i'n herbyn, a chodi plaid o ddynion dialgar i'n niweidio, a chasglu o amgylch ein tai cyrddau, gan waeddi, wban, a thaflu cerig drwy'r ffenestri, dan ysgyrnygu dannedd arnom? A peth yw yr achos fod cymmaint o gynwrf, ac o geisio gan bobl i gael gan feistri y Saint eu troi o'u gwaith? Nid y Saint sy'n codi dim o'r fath derfysg er y ceisir tadogi y cyfan arnynt. Os oes un o'r Saint yn euog o aflonyddu addoliad rhyw rai,—os ceisiodd eiddo neb ar gam;—os troseddodd gyfreithiau y wlad neu foesoldeb, y mae brawdlys i brofi hyny, a sicrhawn y ceir y Saint mor awyddus i ddwyn y troseddwr yno, a neb arall. Beth a ddysgwylir yn decach ynte? Nid oes a wnelo ein crefydd, meddwn etto, a phethau gwladwriaethol na masnachol na dim, ond yr hyn sydd yn efengylaidd yn unig. Paham na adewir ni yn llonydd, ynte? Os twyll mor amlwg ag yr haerir yw ein crefydd, daw pobl resymol "yr oes oleu hon" i ganfod hyny heb ein herlid a chelwyddau, ond os gwirionedd dwyfol yw, ddarfod i ni gael goruchwyliaeth gan Dduw, a chenadwri i'w thraethu, gadawer i ni wneyd hyny, fel y gadewir i ereill a broffesa yn gyffelyb. Amser byr a brawf hyn hefyd, ac os gwir, gwylied ein herlidwyr rhag bod yn erlid rhai anwyl Duw yn eu hanwybodaeth! Nid dyma y tro cyntaf i hyny gael ei wneyd.

Efallai y meddylia ein darllenydd ein bod wedi ymddarostwng yn rhy isel wrth ddilyn ein gwrthwynebwr, ac arferyd fflangell rhy lem; ond digon o esgusawd yw ei goffâu-mai ein gorfodi a gawsom i ddilyn ei frawddegau a'i gyhuddiadau gwarthus. Nid allesid gwneyd yn amgen nag "ateb yr ynfyd yn ol ei ynfydrwydd," gan nad oes dim arall i ni gael gafael arno drwy ei holl haeriadau. Cofier mai amddiffynwyr ydym, ïe, ac amddiffyn ein crefydd a'n cymmeriadau yr ydym; a pheidio gwneyd hyn fuasai "dyoddef fel llofrudd neu leidr." Ni chynnygiodd efe ar egwyddor na phwnc i'w drin yn ol yr ysgrythyr, onide llawer melysach fuasai genym ni ysgrifenu ymresymiadau teg er cyflwyno goleuni ar ryw bynciau athrawiaethol, a'r ysgrythyrau yn rheol. Ond gweler y buasai yn gorphwys arnom ni i ddwyn y ddwy ochr i'r ddadl yn mlaen pe felly, tra yr haera ein gwrthwynebwr gamgyhuddiadau ar gymmeriadau personau yn unig. Y neb a feio ar ein hadolygiad am hyn ynte, beied ar yr hwn a'n gorfododd i'w ddilyn. Ac os ymddangosa efe etto, gobeithiwn mai y Beibl fydd ei safon—gwirionedd ei arwyddair—mai cariad duwiol at les dynion, fydd ei egwyddor, ac mai yr argraffwasg (yr hon sydd heddyw yn rhydd, diolch i'r llywodraeth) fydd ei gyfrwng. Os ammheuir ei frawddegau blaenorol, y mae tystion ddigon a'u clywsant, ac a'u hysgrifenasant ar y pryd. Ac weithian cyflwynwn y sylwadau amddiffynol hyn i ystyriaeth y darllenydd, gan weddio â'n holl galon ar i Ysbryd y gwirionedd eu bendithio i argyhoeddi ein cydgenedl anwyl o wirionedd ein crefydd, a'u dwyn i'w chofleidio, ac i fwynhau cyflawnder ei bendithion dwyfol. Amen.

ARGRAFFWYD GAN JOHN JONES, RHYDYBONT.

